wyliaeth Iuddewig mewn bodoliaeth hyd oni ddeuai Crist. Pe na buasai yr adferiad yma ar yr eglwys a'r addoliad Iuddewig, yn nghyda 'r deml, buasai y bobl yn aros heb wlad o'u heiddo eu hunain i fod yn brif gartref, ac heb deml, a lle i addoli, a chyfanneddfa i ymgynnull iddi. Yr holl sefydliadau yr oedd Duw wedi gwneyd cymaint er eu gosod i fyny, a fuasent mewn perygl o ballu yn hollol, amser maith cyn i'r chwe' chan' mlynedd oedd o'r caethiwed hyd ddyfodiad Crist, ddyfod i ben. Ac felly buasai yr holl barotoi a fu gan Dduw, o amser Abraham hyd ddyfodiad Crist, yn myned yn ofer. Ond yn awr yr oedd y deml yr addawsai Duw ei llenwi â gogoniant, trwy ddyfodiad y Messiah iddi, yn cael ei hadeiladu, fel yr oedd y prophwydi Haggai a Zechariah yn llefaru wrthynt er eu calonogi i'w hadeiladu.

5. Y peth neillduol y sylwaf arno yn nesaf yw, *yr ychwanegiad a wnawd at ganon yr ysgrythyrau*, yn fuan ar ol y caethiwed, gan y prophwydi Haggai a Zechariah, y rhai a anfonwyd i galonogi y bobl i ail-adeiladu y ddinas a'r deml, a'r prif reswm a ddefnyddiant dros y dyben o hyny, ydyw fod amser ymddangosiad Crist yn dynesu. Fe ragfynegodd Haggai y deuai efe o hiliogaeth Zorobabel. Hag. 2. 23. Y mae yn ymddangos fod hwn yn un o'r datguddiedigaethau diweddaf a mwyaf hynod am achau Crist, hyd onid anfonwyd yr angel Gabriel i'w ddatguddio i Mair ei fam.

6. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno ydoedd y *tywalltiad o Ysbryd Duw* a fu yn cydfyned â gweinidogaeth Ezra yr offeiriad, wedi y dychweliad o'r caethiwed. Mae yn eglur oddiwrth amrywiol bethau yn llyfrau Ezra a Nehemiah, fod y fath dywalltiad wedi cymeryd lle. Yn ddioed wedi i Ezra ddyfod i fyny o Babilon gyda 'r caniatâd helaeth a roddwyd iddo gan Artaxerxes, [yr amser hwn y dechreuodd deng wythnos a thriugain Daniel,] efe a ymosododd i ddiwygio yr Iuddewon oddiwrth y drygau a'r llygredigaethau a ganfu efe yn eu mysg; ac y mae genym hanes am ei fawr lwyddiant yn hyny yn y ddegfed bennod o'i lyfr; fel yr

ymddengys fod galar mawr yn nghynnulleidfa Israel yn gyffredinol oblegyd eu pechodau, mewn canlyniad i'r hyn yr aeth y bobl i gyfammod difrifol â Duw, a diwygiad mawr a chyffredinol a gymerodd le. Oddeutu yr un amser yr oedd y bobl, gyda mawr zel, parch a difrifoldeb, yn ymgasglu yn nghyd i wrando ar air Duw yn cael ei ddarllen gan Ezra; ac yr oeddynt yn gwrando yn astud, tra yr oedd Ezra a'r offeiriaid ereill yn pregethu iddynt, trwy ddarllen ac egluro y gyfraith, a'r gwrandawiad oedd yn effeitho yn fawr arnynt. Wylasant pan glywsant eiriau y gyfraith, ac ymroisant i wneuthur sylw arni, a chadwasant wyl y pebyll, fel y mae yr ysgrythyr yn nodi, yn y fath fodd na chadwesid hi o'r blaen er dyddiau Ioshua mab Nun. Neh. viii. Wedi hyn ymddidolasant oddiwrth bob dyeithriaid, a thrwy wrando gair Duw, hwy a ymostyngasant mewn ympryd difrifol, gan gyffesu eu pechodau, ac adnewyddu eu cyfammod â Duw; a hwy a ddangosasant eu cywirdeb yn y gorchwyl hwnw, trwy weithredol ddiwygio llawer o gam-ymddygiadau mewn crefydd a moesau. Gwel Neh. ix., &c.

Y mae yn beth i sylwi arno, mai arfer Duw, yn mhob sefydliad newydd ar gyflwr ei eglwys weledig, oedd rhoddi tywalltiad nodedig o'i Ysbryd. Felly yr oedd ar sefydliad cyntaf yr eglwys Iuddewig pan y daeth i Ganaan dan arweiniad Ioshua, fel y sylwyd o'r blaen; ac hefyd yn yr ail sefydliad hwn yn yr un tir yn amser Ezra; ac felly yr ydoedd ar sefydliad cyntaf yr eglwys Gristionogol wedi adgyfodiad Crist. Gan i Dduw, mewn modd doeth a grasol, osod sylfaen y sefydliadau hyn mewn gwaith o eiddo yr Ysbryd Sanctaidd, er buddioldeb parhaus ei eglwys, y mae o hyny allan wedi aros ynddynt. Yr oedd y tywalltiad hwn o Ysbryd Duw yn feddyginiaeth derfynol i'r genedl oddiwrth y pechod neillduol hwnw oedd ychydig o'r blaen mór gyffredin yn eu mysg, sef ymgymysgu â'r Cenedloedd mewn priodas; canys pa mór dueddol bynag oeddynt iddo o'r blaen, ni ddangosasant un duedd iddo byth wedi hyny.

7. *Ezra a ychwanegodd at ganon yr ysgrythyr.* Efe a

ysgrifenodd y llyfr a elwir ar ei enw; ac fe dybir mai efe a ysgrifenodd ddau lyfr y Cronicl, neu, o'r hyn lleiaf, mai ef oedd eu casglydd, os nad awdwr eu defnyddiau. Fod y llyfrau hyn wedi eu cyfansoddi a'u hysgrifenu, neu eu cyflawn orphen, wedi y caethiwed, a ymddengys oddiwrth y pethau sydd yn ysgrifenedig ynddynt; canys y mae yr achau yn cael eu dwyn yn mlaen drwy y caethiwed. 1 Cron. 3. 17. Yno y cawn hanes hiliogaeth Iehoiacim trwy amryw genedlaethau dilynol. Ac fe sylwir yn y llyfrau hyn ar y caethiwed hwn yn Mabilon, fel peth oedd wedi bod, a myned heibio, ac hefyd ar bethau oeddynt yn cael eu gwneyd ar ddychweliad yr Iuddewon oddiyno, fel y gwelir yn y 9fed bennod. Y mae y bennod hono gan mwyaf, yn rhoddi hanes pethau a ddygwyddasant wedi y caethiwed, fel y gwelir wrth ei chydmaru â'r hyn a ddywedir yn llyfrau Ezra a Nehemiah. Ac mai Ezra a gyfansoddodd y llyfrau hyn sydd dra thebygol oddiwrth eu bod yn cael eu diweddgloi â geiriau y gwyddom eu bod yn eiriau allan o hanes Ezra: y ddwy adnod olaf o ail lyfr Cronicl ydynt y ddwy adnod gyntaf o lyfr Ezra.

8. Fe dybir fod Ezra wedi *casglu yn nghyd yr holl lyfrau yn y rhai yr oedd yr ysgrythyrau sanctaidd yn gynnwysedig y pryd hwnw*, a'u dosparthu yn eu trefn briodol. Lleferir yn fynych am Ezra fel ysgrifenydd enwog a nodedig o gyfraith Duw, ac y mae yn amlwg fod canon yr ysgrythyr, yn ei amser, dan ei neillduol ofal ef; ac y mae yr Iuddewon, yn yr hanesion cyntaf sydd genym oddiwrthynt, yn dal allan yn wastadol fod cymaint o ganon yr ysgrythyrau ag oedd y pryd hwnw mewn bod, wedi cael eu trefnus ddosparthu a'u sefydlu gan Ezra; ac y mae yn amlwg mai oddiwrtho ef y traddodwyd hwy i lawr hyd amser Crist yn y drefn ag y darfu iddo ef eu dosparthu, pan y derbyniodd yr eglwys Gristionogol hwy oddiwrth yr Iuddewon, ac y traddodwyd hwy i lawr i'n hamserau ninau. Y gwirionedd o hyn sydd yn cael ei ganiatâu fel peth diamheuol gan y cyffredinolrwydd o'r duwinyddion.

9. Yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn yn mlaen a'i ddyrchafu yr amser hwn. *trwy y mawr luosogi a fu ar yr adysgrifau o'r gyfraith*, y rhai a sefydlwyd i'w darllen yn gyhoeddus, yn holl ddinasoedd Israel, yn eu synagogau. Nid oedd ond ychydig o adysgrifau o'r gyfraith i'w cael cyn y caethiwed. Yr oedd adysgrif wreiddiol o honi gerllaw yr arch, ac yr oedd yn orchymynedig i'r breninoedd ysgrifenu adysgrif o honi er addysg iddynt eu hunain, ac yr oedd yn orchymynedig ei darllen unwaith bob saith mlynedd i holl gynnulleidfa Israel. Ac nid oes genym hanes am ddarlleniad cyhoeddus o honi ar unrhyw amser pendant oddyeithr hyny cyn y caethiwed. Mae yn amlwg oddiwrth amryw bethau a ellid nodi, fod yr adysgrifau o'r gyfraith yn hynod o anaml y pryd hwnw; ond wedi y caethiwed fe godwyd i fyny ddarlleniad cyhoeddus o honi yn wastadol yn mhob synagog trwy y tir. Yn gyntaf, dechreuasant ddarllen y gyfraith yn eu cynnulleidfäoedd, ac wedi hyny aethant yn mlaen gan sefydlu gwastadol ddarlleniad llyfrau ereill o'r Hen Destament. A darllenid llithoedd allan o'r Hen Destament, yn cael eu gwneyd i fyny o'r gyfraith, a rhanau ereill o'r ysgrythyr ar gael y pryd hwnw, yn yr holl synagogau, y rhai a osodid i fyny yn mhob dinas a lle y byddai cryn nifer o Iuddewon yn preswylio. Fel hyn y gwelwn yr oedd pethau yn amser Crist a'r apostolion. "Canys y mae i Moses yn mhob dinas, er yr hen amseroedd, rai a'i pregethant ef, gan fod yn ei ddarllen yn y synagogau bob sabboth." Act. 15. 21. Tybir yn gyffredinol, gan Iuddewon a Christionogion, i'r arferiad yma gael dechreuad gan Ezra. Yr oedd cynnulleidfäoedd, yn ddiamheuol, yn addoli yn gyhoeddus cyn y caethiwed. Byddent yn arfer ymgynnull i'r deml ar y gwyliau gosodedig, ac os byddent yn methu deall unrhyw beth yn y gyfraith, yr oeddent i fyned at yr offeiriaid i gael eu haddysgu; byddent hefyd yn arfer cyrchu i deiau y prophwydi i gael hyfforddiant. Ac yr ydym yn darllen fod synagogau yn y tir o'r blaen, (Salm 74. 8,) ond nis gellir tybied fod gan-

ddynt adysgrifau o'r gyfraith i'w darllen yn gyhoeddus, ac i'w hesponio yn wastadol trwy yr holl dir, fel yr oedd ganddynt wedi hyny. Ac yr oedd hyn yn un moddion neillduol i'w diogelu rhag eilun-addoliaeth.

10. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno ydyw, i Dduw yn rhyfeddol *ddiogelu ei eglwys a chenedl yr Iuddewon*, pan yr oedd perygl enbyd yn crogi uwch eu penau, gan fygythiad o ddinystr cyffredinol oddiwrth Haman, fel y gwelir yn yr hanes yn llyfr Esther. Ond cyfres o ragluniaethau rhyfeddol a ragflaenasant y dystryw hwn i'w goddiweddyd. Y mae yn beth diamheuol i Esther gael ei geni i'r dyben o fod yn offeryn yn y waredigaeth fawr hon.

11. Wedi hyn *canon yr ysgrythyr a helaethwyd yn mhellach* yn llyfrau Nehemiah ac Esther; llyfr Nehemiah a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun: a pha un a ysgrifenwyd y llall gan Nehemiah, Mordecai neu Malachi, nid ydyw o bwys i ni wybod, gan ei fod yn un o'r llyfrau hyny a gyfrifid ac a dderbynid yn ganonaidd bob amser gan yr Iuddewon, ac yn mysg y rhai a alwent hwy yn ysgrythyrau yn amser Crist, ac yr oedd hefyd yn cael ei gymeradwyo fel y cyfryw ganddo ef. Canys y mae Crist, yn ei areithiau i'r Iuddewon, yn fynych yn cadarnhau ac yn eglur gymeradwyo y llyfrau oeddynt yn myned dan yr enw *ysgrythyrau* yn eu mysg hwy, fel y gellid dangos yn hawdd pe byddai achos.

12. Wedi hyn *canon yr Hen Destament a orphenwyd ac a seliwyd* gan Malachi. Mae y dull y mae ef yn diweddgloi ei brophwydoliaeth yn ymddangos i arwyddo nad oeddynt i ddysgwyl ychwaneg o brophwydoliaethau, nac ychwaneg o ddatguddiedigaethau ysgrifenedig oddiwrth Dduw, hyd oni ddeuai Crist. Canys y mae y prophwyd yn y bennod olaf yn prophwydo am ddyfodiad Crist. Adn. 2, 3. "Ond Haul cyfiawnder a gyfyd i chwi, y rhai ydych yn ofni fy enw, â meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynyddwch megys lloi pasgedig. A chwi a fethrwch yr annuwiolion; canys byddant yn lludw dan wadnau eich traed chwi, yn y dydd y gwnelwyf hyn, medd Arglwydd y

lluoedd." Yna yr ydym yn darllen yn adnod y 4edd: "Cofiwch gyfraith Moses fy ngwas, yr hon a orchymynais iddo ef yn Horeb i holl Israel, y deddfau a'r barnedigaethau;" hyny yw, Cofiwch a defnyddiwch yr hyn sydd genych; ymgedwch yn agos at y rhëol ysgrifenedig sydd yn eich meddiant, heb ddysgwyl ychwaneg nes byddo nos yr Hen Destament drosodd, a Haul cyfiawnder a gyfyd yn y man.

13. Yn fuan wedi hyn, *ysbryd prophwydoliaeth a beidiodd* yn mysg y bobl hyn hyd amser y Testament Newydd. Fel hyn, goleuadau yr Hen Destament, ser y nos hirfaith hono, a ddechreuasant guddio eu penau yn gyflym, ac amser Haul cyfiawnder oedd yn awr yn dynesu. Sylwasom o'r blaen fel y darfu i'r breninoedd ymadael o dŷ Dafydd cyn i'r gwir Frenin a Phen yr eglwys ddyfod; a'r modd y ciliodd cwmwl y gogoniant, cyn i Grist, dysgleirdeb gogoniant y Tad, ymddangos. Ac yn awr fe ballodd ysbryd prophwydoliaeth. Yr oedd amser Prophwyd mawr Duw mór agos, yr oedd yn bryd i'r prophwydi cysgodol hyn ddystewi.

Yr ydym yn awr wedi myned trwy yr amser ag y mae genym unrhyw hanes am dano yn ysgrifeniadau yr Hen Destament: a'r peth diweddaf a grybwyllwyd, trwy yr hyn yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei hwyluso, oedd ymadawiad ysbryd prophwydoliaeth.

Yn awr âf yn mlaen i ddangos fel yr oedd yr un gwaith yn cael ei gario yn mlaen trwy yr amseroedd oedd yn ngweddill cyn dyfodiad Crist. Nid oes genym yr edefyn lleiaf o hanesyddiaeth ysgrythyrol i'n cyfarwyddo yn hyn, fel yr oedd genym hyd yma; ond y mae tri pheth a rydd i ni gyfarwyddyd, prophwydoliaethau yr Hen Destament, hanesyddiaeth ddynol, a rhyw bethau y crybwyllir am danynt yn achlysurol yn llyfrau y Testament Newydd, y rhai a ddygwyddasant yn yr amseroedd hyny.

14. Y peth neillduol nesaf y crybwyllaf am dano dan y cyfnod hwn yw, *dinystr yr ymherodraeth Bersiaidd*, a gos-

odiad i fyny yr un Roegaidd gan Alexander. Tybir i hyn gael ei ddwyn oddiamgylch yn mhen tua thriugain neu ddeg-à-thriugain o flynyddoedd wedi i Malachi fod yn prophwydo, ac yn nghylch tri chant a deg-ar-hugain o flynyddoedd cyn Crist. Hwn oedd y trydydd chwyldröad yn ystod y cyfnod hwn, ac yr oedd yn fwy hynod nac yr un o'r rhai blaenorol. Yr oedd yn dra nodedig o herwydd goresgyniad disymwth Alexander, a maintioli yr ymherodraeth a osododd efe i fyny, yr hon oedd ýn llawer ehangach nac yr un o'r rhai a'i rhagflaenasant.

Mae y dygwyddiad hwn yn cael son am dano yn helaeth yn mhrophwydoliaethau Daniel. Rhagddangosir yr ymherodraeth hon trwy y drydedd deyrnas o bres yn nehongliad Daniel o freuddwyd Nebuchodonosor. Dan. ii. Ac yn ngweledigaeth Daniel o'r pedwar bwystfil, wrth y trydydd bwystfil yr hwn oedd debyg i lewpard, a phedair aden aderyn ar ei gefn, y bwriedir arddangos cyflymdra ei oresgyniad, (pen. vii. ;) ac y mae yn cael ei ddarlunio yn fwy manwl yn ngweledigaeth y bwch geifr, (pen. viii.,) yr hwn oedd yn dyfod o'r gorllewin ar hyd wyneb yr holl ddaear, ac heb gyfhwrdd â'r llawr, i ddangos mór gyflym y rhedai arfau Alexander dros y byd. Mae yr angel ei hun yn hysbysu yn ei ddehongliad o'r weledigaeth, fod y bwch hwn yn arwyddocâu brenin Groeg. Adn. 21. "A'r bwch blewog yw brenin Groeg ; a'r corn mawr, yr hwn sydd rhwng ei lygaid ef, dyna y brenin cyntaf," sef Alexander.

Alexander a fu farw yn fuan wedi iddo ddarostwng y byd ; ac ni ddisgynodd ei freniniaeth i'w hiliogaeth, ond pedwar o'i brif gadbeniaid a ranasant ei ymherodraeth rhyngddynt, a'r rhaniad hwnw a fu mewn grym yn yr oesoedd canlynol. Yn awr yr oedd y freniniaeth wedi ei thóri, yn gymaint a bod pedwar yn sefyll i fyny am dani, "pedair breniniaeth a gyfodant o'r un genedl, ond nid o'r un nerth ag ef;" fel yn mhen. xi. Mae yr angel, wedi rhagfynegu am ymherodraeth Persia, yn myned yn mlaen i ragfynegu am Alexander. Adn. 3. "A brenin cadarn a gyfyd, ac a lywodraetha

â llywodraeth fawr, ac a wna fel y myno." Wedi hyny y mae efe (adn. 4) yn rhagfynegu rhaniad ei deyrnas ef rhwng ei bedwar cadben: "A phan safo efe, dryllir ei deyrnas, ac a'i rhenir tua phedwar gwynt y nefoedd; ac nid i'w hiliogaeth ef, nac fel ei lywodraeth a lywodraethodd efe: o herwydd ei freniniaeth a ddiwreiddir i ereill heblaw y rhai hyny." O'r pedwar cadben hyn, yr oedd un yn meddiannu yr Aifft a'r gwledydd cymydogaethol i'r *dehau* o Iudea; ac un arall Syria a'r gwledydd cymydogaethol i'r *gogledd* o Iudea; a'r ddau hyn a elwir yn *freninoedd y gogledd a'r dehau* yn Dan. xi.

Yr oedd gosodiad ymherodraeth Groeg i fyny yn parotoi y ffordd yn fawr i ddyfodiad Crist, ac adeiladaeth ei deyrnas; ac yn fwy neillduol felly, gan fod hyny yn *gwneyd y Groeg yn iaith gyffredin y byd.* Yr oedd hyn yn rhoddi mantais i ledaenu yr efengyl yn mhlith yr holl genedloedd gyda mwy o rwyddineb na phe buasai i bob cenedl ei hiaith neillduol. Canys, er fod rhai o bregethwyr cyntaf yr efengyl yn meddu y dawn o lefaru â thafodau, fel yr oeddynt yn gallu pregethu mewn unrhyw iaith, eto nid oedd gan bawb o honynt y dawn neillduol hwn; nis gallai y rhai oeddynt yn ei feddu ei arfer pan y mynent, ond ar amserau neillduol yn unig, pan y rhyngai bodd i Ysbryd Duw eu hysbrydoli yn y modd hwnw. Ac nis gallasai yr eglwysi, mewn gwahanol barthau pell o'r byd, megys Ierusalem, Galatia, Antiochia, Corinth, ac ereill, gymdeithasu â'u gilydd, fel y mae genym hanes eu bod (yn llyfr yr Actau,) heb iaith gyffredin. Wedi gosod i fyny ymherodraeth Groeg, yr oedd nifer mawr trwy yr holl wledydd yn deall yr iaith Roegaidd yn dda, yr hyn oedd yn agor y drws yn rhyfedd i'r eglwysi hyny gydgymdeithasu â'u gilydd, er eu bod mór ddidoledig y naill oddiwrth y llall.

Drachefn, yr oedd gwneyd y Groeg yn iaith arferedig rhan mór ëang o'r byd, yn parotoi y ffordd i deyrnas Crist, gan mai ynddi hi yr oedd y Testament Newydd i gael ei ysgrifenu yn wreiddiol. Lledaenwyd yr efengyl gan yr apostolion

yn mysg amryw ugeiniau o genedloedd; a phe na buasai y cenedloedd hyny yn deall y Bibl heb ei gyfieithu i gynifer o ieithoedd, buasai yn gwneyd taeniad yr efengyl yn llawer mwy anhawdd. Ond trwy fod y Groeg yn cael ei gwneyd yn iaith gyffredin i bawb, yr oeddynt oll yn deall Testament Newydd Iesu Grist yn yr iaith yr ysgrifenwyd ef yn wreiddiol gan yr apostolion a'r efengylwyr. Cán gynted ag yr ysgrifenwyd ef gan ei ysgrifenwyr gwreiddiol, gosodwyd ef yn union-gyrchol yn agored o flaen y byd, mewn iaith a ddeallid yn gyffredin.

15. Y peth nesaf y gwnaf sylw o hono yw, *cyfieithad yr Hen Destament i'r Groeg*, yr hwn yn gyffredin a elwid y *Septuagint*, neu gyfieithad y deg-a-thriugain, yr hyn a gymerodd le fel y tybir tua deg-a-deugain neu driugain mlynedd wedi goruchafiaeth Alexander. Hwn oedd y cyfieithad cyntaf o'r ysgrythyrau ag y mae genym unrhyw hanes credadwy am dano. Nid oedd canon yr Hen Destament wedi ei orphen gan y prophwyd Malachi yn yr Hebraeg wreiddiol, ond tua a chant ac ugain mlynedd cyn hyn. Hyd yn hyn yr oedd yr ysgrythyrau yn parhau i gael eu cloi i fyny yn mysg yr Iuddewon yn yr Hebraeg, yr hon ni ddeallid gan un genedl arall; ond yn awr fe 'u cyfieithwyd i'r Groeg, iaith a ddeallid gan genedloedd y byd yn gyffredin.

Mae y cyfieithad hwn o'r Hen Destament eto ar gael, ac o ddefnydd mawr. Mae gan yr Iuddewon lawer o ffugchwedlau yn nghylch yr achos o'r cyfieithad hwn, a'r mòdd y dygwyd ef yn mlaen; ond tybir mai y gwir achos o hono oedd, bod lluoedd o Iuddewon yn byw mewn parthau ereill o'r byd heblaw Iudea; a chan eu bod wedi eu geni a'u meithrin yn mysg y Groegiaid, daeth y Groeg yn iaith arferedig iddynt. Gan nad oedd y rhai hyn yn deall yr Hebraeg gwreiddiol, mynasant gyfieithu yr ysgrythyrau i'r Groeg er eu gwasanaeth eu hunain; ac o hyny allan yr oedd yr Iuddewon, yn mhob gwlad oddyeithr Iudea, yn arfer y cyfieithad hwn yn eu synagogau yn lle yr Hebreig.

Yr oedd cyfieithad yr ysgrythyrau i iaith yn cael ei harferyd mór gyffredin drwy y byd, yn darparu yn fawr y ffordd i deyrnas Crist. Canys yr oedd yr apostolion, a ddirprwywyd i bregethu trwy y byd, yn gwneyd defnydd mawr o ysgrythyrau yr Hen Destament, ac yn enwedig o'r prophwydoliaethau yn nghylch Crist. Trwy gyfrwng y cyfieithad hwn, a thrwy wasgariad ëang yr Iuddewon, yr oedd ganddynt yr ysgrythyrau wrth law mewn iaith a ddeallid gan y Cenedloedd. O hyn allan yr oeddynt yn defnyddio y cyfieithad hwn yn benaf yn eu pregethau a'u hysgrifeniadau pa le bynag yr elent, fel y mae yn eglur oddiwrth y ffaith, fod eu dyfyniadau lluosog o'r Hen Destament, bron i gyd, yn gywir yn ngeiriau y Septuagint. Mae y synhwyr yr un peth ag yn yr Hebraeg gwreiddiol, er fod y geiriau yn gwahaniaethu. A'r cyfieithad hwn a arferid yn benaf yn yr eglwysi Cristionogol yn mhlith y rhan fwyaf o genedloedd y ddaear, am amryw ganrifoedd wedi Crist.

16. Y peth nesaf yw rhyfeddol *gadwedigaeth yr eglwys* pan yr oedd yn cael ei bygwth yn enbyd a'i herlid *dan yr ymherodraeth Roegaidd.* Y tro cyntaf y bygythiwyd hwy oedd gan Alexander ei hun. Tra yn gwarchae ar ddinas Tyrus, efe a anfonodd at yr Iuddewon am gynorthwy ac anghenreidiau i'w fyddin. Hwythau, oddiar barch cydwybodol i'w llŵ i frenin Persia, a wrthodasant; a chan ei fod yn ddyn o ysbryd ffrochwyllt, yn cyfateb i ddesgrifiad yr ysgrythyr o'r bwch blewog, aeth yn eu herbyn, gyda'r bwriad o'u tóri ymaith. Ond pan gyfarfu â'r offeiriaid yn myned allan ato yn eu gwisgoedd offeiriadol, Duw a droes ei galon ef yn rhyfedd i'w hachub a dangos hawddgarwch iddynt, fel y gwnaethai â chalon Esau pan gyfarfu â Iacob.

Wedi hyn, un o freninoedd yr Aifft, ac olynydd un o bedwar cadbeniaid Alexander, a fwriadodd ddystrywio y genedl Iuddewig, ond a attaliwyd yn hynod a rhyfeddol trwy gyfryngdod y nefoedd er eu cadwraeth.

Ond y gadwraeth fwyaf rhyfeddol a gawsant yn ystod

y cyfnod hwn, oedd dan erlidigaeth greulon Antiochus Epiphanes, brenin Syria, ac olynydd arall i un o bedwar cadbeniaid Alexander. Yr oedd yr Iuddewon y pryd hwn yn ddarostyngedig i awdurdod Antiochus; a chan ei fod ef wedi ymgynddeiriogi yn eu herbyn, ymdrechodd ei oreu i'w hollol ddystrywio, a'u diwreiddio hwy—o'r hyn lleiaf bawb o honynt nad adawent eu crefydd, ac addoli ei ddelwau ef. Efe yn wir a ddifrododd y wlad i fesur helaeth, ac a ddiboblogodd ddinas Ierusalem; halogodd y deml, gan osod ei ddelwau i fyny mewn rhai manau o honi; ac erlidiodd y bobl â chreulondeb diarbed; fel nad oes genym hanes am erlidigaeth gyffelyb i hon o'r blaen. Yr oedd llawer o amgylchiadau nodedig yr erlidigaeth greulon hon yn hynod o gyffrous. Dechreuodd tua chant a deng mlynedd a thriugain cyn Crist. Sonir llawer am dani yn mhrophwydoliaeth Daniel, (Dan. 8. 9, 25; 11. 31—38;) ac yn y Testament Newydd; Heb. 11. 36—38.

Bwriadai Antiochus, nid yn unig ddiwreiddio y grefydd Iuddewig, ond, cán belled ag yr oedd yn ei allu, y genedl hefyd; a llafuriodd yn neillduol hyd ei eithaf i ddystrywio yr holl adysgrifau o'r gyfraith. Ac ystyried pa mór ddinerth oeddynt hwy, mewn cydmariaeth i frenin yn meddu y fath lywodraeth ëang, yr oedd rhagluniaeth Duw yn ymddangos yn hynod o ryfedd yn nymchweliad ei amcan. Ymddengys i'r Iuddewon fod ar fin dinystr lawer gwaith, ac yn barod bron i gael eu llyngcu i fyny, ac yr oedd eu gelynion yn fynych yn meddwl eu hunain yn sicr o gyrhaedd eu hamcan. Daethant unwaith yn erbyn y bobl â byddin alluog, gyda bwriad o ladd y cyfan, oddyeithr y benywod a'r plant, a gwerthu y rhai hyny yn gaethion; ac mór hyderus oeddynt o gyrhaedd eu hamcan, ac ereill o brynu, fel y daeth mwy na mil o fasnachwyr gyda 'r fyddin, âg arian yn eu dwylaw, i brynu y rhai oeddynt i gael eu gwerthu. Ond Duw yn rhyfeddol a gynhyrfodd ac a gynorthwyodd un Iudas, ac ereill o'i olyddion, a elwid Maccabeaid, y rhai, gyda dyrnaid bychan mewn cydmariaeth, a orchfygasant eu gel-

ynion dro ar ol tro, ac a waredasant eu cenedl. Rhagddywedwyd hyn hefyd gan Daniel. Pen. 11. 32. Wrth lefaru am erlidigaeth Antiochus, dywed, "A throseddwyr y cyfammod a lygra efe trwy weniaith; eithr y bobl a adwaenant eu Duw, a fyddant gryfion, ac a ffynant."

Duw wedi hyn a ddygodd yr Antiochus hwn i ddiwedd dychrynllyd a gresynol, trwy glefyd ffiaidd, dan arteithiau arswydus yn ei gorff, a brawychiadau meddwl; yr hyn a ragddywedwyd (Dan. 11. 45) yn y geiriau hyn: "Eto efe a ddaw hyd ei derfyn, ac ni bydd cynorthwywr iddo." Bu cynygiadau i ddystrywio yr eglwys wedi ei farwolaeth ef; ond Duw a'u dyrysodd hwynt oll.

17. Y peth nesaf yw *dinystr ymherodraeth Groeg, a gosodiad y Rufeinig i fyny.* Hwn oedd y pedwerydd chwyldröad yn ystod y cyfnod yma. Ac er iddo gael ei ddwyn oddiamgylch yn fwy graddol na chodiad yr ymherodraeth Roegaidd, eto aeth yn mhell tu hwnt iddi, ac yr oedd yr unbenaeth dymhorol alluocaf ac ëangaf yn unrhyw oes; fel yr oedd yr ymherodraeth Rufeinig yn cael ei galw yn gyffredin *yr holl fyd;* megys yn Luc 2. 1. "Bu hefyd yn y dyddiau hyny, fyned gorchymyn allan oddiwrth Augustus Cæsar, i drethu yr holl fyd."

Lleferir am yr ymherodraeth hon fel y gadarnaf a'r fwyaf o'r pedair o lawer. Dan. 2. 40. "Bydd hefyd y bedwaredd freniniaeth yn gref fel haiarn: canys yr haiarn a ddryllia ac a ddofa bob peth: ac fel haiarn yr hwn a ddryllia bob peth, y maluria ac y dryllia hi." Dan. 7. 7, 19, 23. Yr amser y darfu y Rhufeiniaid oresgyn a dwyn danynt wlad Iudea, oedd rhwng triugain a deg-a-thriugain mlynedd cyn Crist. Yn fuan wedi hyn yr oedd yr ymherodraeth Rufeinig wedi ei sefydlu yn ei heangder mwyaf; a pharhäodd y byd yn ddarostyngedig iddi o hyny hyd ddyfodiad Crist, ac am lawer o ganrifoedd wed'yn.

Yr oedd fod y cenedloedd wedi eu huno dan un ymherodraeth fel hyn pan y daeth Crist, a phan yr aeth yr apostolion allan i bregethu, yn hwyluso yn fawr y ffordd i ledaenu yr

efengyl, ac i osod i fyny deyrnas Crist yn y byd. Yr oedd fod y byd fel hyn yn ddarostyngedig i'r un lywodraeth, yn agor drws i dramwyaeth gyffredinol, ac felly yn rhoddi hamdden i ledaenu yr efengyl yn fwy cyflym. Y mae rhwystrau aneirif i deithio yn mysg cenedloedd dan wahanol lywodraethau annibynol, y rhai nid ydynt i'w cyfarfod wrth dramwyo trwy wahanol barthau yr un deyrnas, neu wahanol ardaloedd yr un tywysog. Felly yr oedd fod y byd dan yr un llywodraeth, yr eiddo Rhufain, yn hwyluso yr apostolion i deithio, a thaenu yr efengyl.

18. Oddeutu yr un amser yr oedd *dysgeidiaeth a philosophyddiaeth wedi eu codi i'w huchder mwyaf* yn y byd paganaidd. Y philosophyddion enwog yn mysg y Paganiaid a fuont byw bron i gyd wedi y symudiad i Babilon. Doethion Groeg a Rhufain agos oll a flodeuasant yn ystod yr amser hwn. Yr hyn yr oedd y philosophyddion hyn yn gyffredin yn ei gyffesu fel eu gorchwyl penaf, oedd chwilio allan yn mha beth yr oedd prif ddedwyddwch dyn yn gorphwys, a pha fodd i'w feddiannu. Ymddengys eu bod yn chwilio i hyn yn egnïol a thrafferthus, ac yn ysgrifenu llawer o lyfrau yn ei gylch, llawer o ba rai ydynt eto ar gael; ond yr oeddynt yn ymranu yn ddirfawr, canys fe gyfrifwyd amryw gannoedd o'r gwahanol dybiau oedd ganddynt yn ei gylch. Fel hyn yr oeddynt yn blino eu hunain yn ofer, gan ymbalfalu yn y tywyllwch, heb fod ganddynt oleuni gogoneddus yr efengyl i'w harwain. Rhyngodd bodd i Dduw oddef i ddynion wneyd yr oll a allent wneyd â doethineb ddynol, ac i chwilio allan ffordd dedwyddwch hyd eithaf eu dealltwriaeth, cyn i'r gwir Oleuni ddyfod i oleuo y byd. Goddefodd Duw i'r philosophyddion enwog hyn chwilio allan beth a allent wneyd am chwe' chan' mlynedd; ac yna trwy ddygwyddiadau amser mór faith, profwyd nad oedd y cyfan a allent wneyd ond peth ofer; nid oedd eu haddysgiadau yn gwneyd y byd yn ddoethach, yn well, nac yn ddedwyddach, ond yr oedd yn dyfod yn fwy ynfyd, drygionus, a gresynol. Goddefodd hyn, fel y gellid gweled pa mór bell y gallai

rheswm a philosophyddiaeth fyned pan yn eu huchder mwyaf: fel y byddai i'r angheuraidrwydd o Athraw dwyfol ymddangos yn fwy diddadl. Rhyngodd bodd i Dduw wneyd doethineb y byd hwn yn ffolineb—i ddangos i ddynion ynfydrwydd eu doethineb penaf—trwy athrawiaeth ei efengyl ogoneddus, yr hon oedd uwch cyrhaedd eu holl philosophi hwy. 1 Cor. 1. 19—21

Wedi i Dduw ddangos gwagedd dysgeidiaeth ddynol heb yr efengyl, gwelodd yn dda ei gwneyd yn wasanaethgar i ddybenion teyrnas Crist, fel llaw-forwyn i ddatguddiad dwyfol. Y mae genym enghraifft o hyn yn yr apostol Paul, yr hwn oedd enwog am ei ddysg, (Act. 26. 24,) ac yn gyfarwydd, nid yn unig yn nysgeidiaeth yr Iuddewon, ond yn eiddo y philosophyddion hefyd. Yr oedd yn defnyddio hyn i fod yn wasanaethgar i'r efengyl; megys y gwnaeth tra yn dadleu â philosophyddion Athen. Act. 17. 22, &c. Trwy ei ddysgeidiaeth yr oedd yn gwybod pa fodd i gymhwyso ei hun yn ei areithiau i ddynion dysgedig, gan ei fod wedi darllen eu hysgrifeniadau; ac y mae yn dyfynu gwaith eu beirdd. Dionysius, philosophydd, a argyhoeddwyd trwyddo ef, ac a wnaed yn offeryn enwog i ddwyn yn mlaen lwyddiant yr efengyl; ac yr oedd amryw ereill, yn yr oes hono a'r oesoedd dilynol, y rhai a fuont yn hynod o ddefnyddiol, trwy eu dynol ddysgeidiaeth, i ddwyn yn mlaen achos teyrnas Crist.

19. Ychydig cyn genedigaeth Crist, yr *oedd yr ymherodraeth Rufeinig wedi ei dyrchafu i'w rhwysg mwyaf, ac hefyd wedi ei sefydlu mewn heddwch.* Tua phedair blynedd ar hugain cyn Crist, Augustus Cæsar, yr ymherawdwr Rhufeinig cyntaf, a ddechreuodd reoli fel ymherawdwr y byd. Yr oedd ymherodraeth Rhufain wedi bod hyd hyny am hir amser yn weriniaeth, dan lywodraeth y senedd, ond yn awr daeth yn unbenaeth ddiammodol. Gan mai y dynsawd hwn oedd y cyntaf, felly hefyd efe oedd y mwyaf o holl ymherodron Rhufain; teyrnasodd yn y rhwysg a'r gogoniant mwyaf. Fel hyn yr oedd gallu y byd paganaidd, yr hwn

oedd teyrnas weledig Satan, wedi ei ddyrchafu i'w rwysg mwyaf, ar ol bod yn cadarnhau ei hun fwy-fwy er dyddiau Solomon, yr hyn oedd yn nghylch *mil o flynyddoedd.* Yr oedd y byd paganaidd yn awr yn ei ogoniant mwyaf o ran nerth, cyfoeth, a dysgeidiaeth.

Gwnaeth Duw ddau beth i barotoi y ffordd i ddyfodiad Crist, yn mha rai y cymerodd drefn wrthwyneb i'r hyn a fuasai doethineb ddynol yn ei gymeryd. Efe a ddygodd ei bobl weledig ei hun yn hynod o isel, ac a'u gwnaeth yn weiniaid; ond y paganiaid, ei elynion, a ddyrchafodd efe i'r uchder mwyaf, fel y byddai buddugoliaeth croes Crist yn fwy gogoneddus. Gydag ychydig nifer yn eu gwendid mwyaf, efe a orchfygodd ei elynion yn eu gogoniant mwyaf. Fel hyn y buddugoliaethodd Crist ar dywysogaethau ac awdurdodau yn ei groes.

Yr oedd Augustus Cæsar wedi bod yn sefydlu ei ymherodraeth er ys llawer o flynyddoedd, ac yn darostwng ei elynion, hyd y flwyddyn y ganwyd Crist; pan, wedi darostwng ei holl elynion, yr oedd ei arglwyddiaeth dros y byd yn ymddangos megys wedi ei sefydlu yn ei gogoniant mwyaf. Yr oedd y cyfan wedi ei sefydlu mewn heddwch; yn arwydd o'r hyn y darfu i'r Rhufeiniaid gau i fyny deml Janus, yr hyn oedd yn arwydd sefydledig yn eu plith hwy fod heddwch cyffredinol trwy yr holl ymherodraeth. A'r heddwch cyffredinol hwn, a ddechreuodd y flwyddyn y ganwyd Crist, a barhäodd ddeuddeng mlynedd, sef hyd y flwyddyn y bu Crist yn ymresymu â'r doctoriaid yn y deml.

Fel hyn y byd, wedi bod, fel ped fuasai, mewn cynhyrfiadau parhaus am gynifer o gannoedd o flynyddau—fel y pedwar gwynt yn ymryson â'u gilydd ar y cefnfor gorwyllt tymhestlog, o'r hwn y codasai y pedair unbenaeth fawr hyny, oedd yn awr wedi ei sefydlu yn uchder mwyaf y bedwaredd a'r ddiweddaf o honynt, ac yn gorphwys mewn llonyddwch. Yr oedd pob peth yn awr yn barod erbyn genedigaeth Crist. Yr heddwch cyffredinol a hynod hwn, wedi cynifer o oesoedd o gynhwrf a rhyfel, oedd ragredeg-

ydd cymhwys i arwain Tywysog gogoneddus y Tangnefedd i'r byd.

Fel hyn yr aethym trwy y cyfnod mawr cyntaf o'r holl yspaid amser rhwng cwymp dyn a diwedd y byd, ac a ddangosais wirionedd y gosodiad cyntaf; sef, Bod *Duw, o gwymp dyn hyd gnawdoliaeth Crist, yn gwneyd y pethau hyny oeddynt barotöawl i ddyfodiad Crist, ac yn rhagredegwyr iddo.*

---

## PEN. VII.

*Defnydd oddiwrth y Cyfnod cyntaf.*

CYN myned yn mlaen at y cyfnod nesaf, gwnaf ychydig nodiadau mewn ffordd o addysg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd dan y cyfnod hwn :

1. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn ddadleu yn eofn, *mai Iesu o Nazareth yw gwir Fab Duw*, ac Iachawdwr y byd ; ac mai y grefydd Gristionogol ydyw y wir grefydd, gan yr ymddengys mór amlwg mai efe yw y Person y cyfeirir ato, yn holl oruchwyliaethau mawrion Rhagluniaeth ddwyfol er cwymp dyn, ac mai efe, yn ddiamheuol, oedd yr un y rhagddywedwyd am dano mewn cymaint o wahanol ffyrdd o oes i oes, ac a gynnrychiolwyd mewn cynifer o gysgodau a darluniadau. Ped ystyriem yn ddifrifol yrfa pethau o'r dechreuad, gan sylwi ar ysgogiadau holl olwynion mawrion Rhagluniaeth, gallem ddirnad eu bod oll yn tueddu yma. Y maent oll megys cynifer o linellau, cwrs y rhai, ond dilyn eu rhediad yn gywrain a manwl, a ganfyddir i gyd yn cydgyfarfod yma. Y mae llawer o bethau yn gwneuthur hyn mór eglur, fel na fyddai ei wadu ond dadleu hurtrwydd. Y Person hwn, a anfonwyd oddiwrth Dduw, gyda chenadwri ac awdurdod i wneuthur ei waith ef, ac i gyhoeddi ei feddwl. Y mae Llywodraethwr y byd, yn ei holl oruchwyliaethau mawrion tuag at Iuddewon a Chenedl-

oedd, i lawr i amser genedigaeth Crist, wedi datgan hyny. Ac y mae yn wirionedd amlwg a chlir, mai yr hwn a anwyd yn Methlehem, a breswyliodd yn Nazareth a Chapernaum, ac a groeshoeliwyd y tu allan i byrth Ierusalem, ydyw y Messiah mawr: a bendigedig yw pawb sydd yn credu ynddo, ac yn ei gyffesu, a thruenus yw pawb sydd yn ei wadu. Y mae hyn yn dangos afresymolrwydd y Gwrthgredinwyr, y rhai a wadant grefydd ddatguddiedig; a'r Iuddewon, y rhai a wadant mai yr Iesu ydyw y Messiah a ragfynegwyd ac a addawyd i'w tadau.

Yma, pe gwrthddadleua rhywrai, mai rhyw bersonau cyfrwysgall a dichellgar a ddyfeisiasant yr hanesyddiaeth a'r prophwydoliaethau hyn, i'r dyben o brofi mai efe yw y Messiah, gellir ateb, Pa fodd y gallasai y fath beth gael ei ddyfeisio gan ddynion cyfrwysgall i gyfeirio at Iesu Grist, amser maith cyn ei eni? Pa fodd y gwyddent hwy y genid y fath Berson? A pha fodd y gallasai eu cyfrwysdra hwy eu cynorthwyo i ragweled a chyfeirio at ddygwyddiad oedd i gymeryd lle yn mhen llawer o oesoedd wedi eu hamser? Canys nis gall un ffaith fod yn fwy amlwg, na bod yr ysgrifeniadau hyn gan yr Iuddewon amser maith cyn genedigaeth Crist; fel y maent ganddynt eto, mewn bri mawr, yn eu holl wasgariadau trwy y byd. Ni buasent byth yn derbyn y fath ddyfais oddiwrth Gristionogion, i brofi mai yr Iesu, yr hwn y maent hwy bob amser yn ei wadu, oedd y Messiah; a llawer llai y gellid gwneyd iddynt gredu i'r llyfrau hyn fod yn wastad yn eu dwylaw, pe na buasent ond twyll.

II. Mae yr hyn a ddywedwyd yn rhoddi rheswm cryf dros *ddwyfol awdurdod llyfrau yr Hen Destament*, oddiwrth y cydgordiad rhyfeddol sydd ynddynt oll yn eu cyfeiriad at yr un peth. Canys gallwn weled, oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fel y mae pob rhan o'r Hen Destament, er ei ysgrifenu gan gynifer o wahanol ysgrifenwyr, ac mewn oesoedd mór bell y naill oddiwrth y llall, i gyd yn cydgordio â'u gilydd. Y maent oll yn cytuno ac yn cydgyfarfod yn

yr un dygwyddiad; yr hyn y buasai yn annichonadwy i un o honynt ei ragwybod, ond trwy ddatguddiad dwyfol.

Yn awr, os na roddwyd yr Hen Destament trwy ysbrydoliaeth Duw, pa reswm a ellir roddi dros y fath gydgordiad? canys os ysgrifenwyd y llyfrau hyn heb unrhyw gyfarwyddyd dwyfol, yna nid oedd neb o'r ysgrifenwyr yn gwybod y deuai y fath berson a Iesu Grist i'r byd; nid oedd ei ddyfodiad ond ffug-ddychymyg eu hymenydd hwy eu hunain: ac os felly, pa fodd y dygwyddodd i'w dychymygion, y rhai a ragfynegasant heb un math o sail dros eu rhagddywediad, gael eu cywir gyflawni? ac, yn neillduol, pa fodd y daethant oll i gydweled yn hyn, ac i gydgyfeirio yn gywir at yr un peth, a hwythau yn byw gynifer o ganrifoedd y naill oddiwrth y llall? Mae y cydsyniad a'r cytundeb hynod yma mewn dygwyddiad dyfodol, gan hyny, yn profi dwyfol awdurdod yr ysgrifeniadau hyn yn amlwg a sicr.

III. Gwelwn oddiwrth hyn *pa mór wan ac anwybodus yw yr wrthddadl*, nad ydyw yr Hen Destament yn air Duw, o herwydd ei fod yn cynnwys cymaint o *hanesion rhyfelgar a gwladol*. Yma, medd rhai, y mae genym hanesion am eu breninoedd a'u llywodraethwyr, am eu rhyfeloedd â chenedloedd cymydogaethol, a'r cyfnewidiadau a gymerasant le yn eu gwlad a'u llywodraeth: ond yr oedd cenedloedd ereill yn arfer cadw hanesion o'u gorchwylion cyhoeddus, cystal a'r Iuddewon; paham gan hyny y mae yr hanesion hyn yn air Duw, mwy na'r eiddo pobloedd ereill? Mae yr hyn a ddywedwyd yn dangos ynfydrwydd a gwagedd y fath wrthddadleuon. Canys ymddengys fod achlysur yr hanesion hyn yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth bob hanesion ereill. Yr hanesyddiaeth yma yn unig a rydd i ni hanes dechreuad pob peth, gan eu trosglwyddo i lawr i ni fel cadwyn ddidór o'r dechreuad hwnw, yr hyn sydd yn rhoddi meddylddrych o ddyfais fawr Rhagluniaeth ddwyfol, fel yn tueddu at un dyben mawr. Ac, heblaw yr athrawiaethau a'r prophwydoliaethau a gynnwysir ynddo, y mae yr un llyfr yn rhoddi golwg ar holl gynlluniau mawrion Rhagluniaeth ddwyfol, o

ddechreuad i ddiweddiad pob peth; ac yn rhoddi hanes rhagorol a gogoneddus o ddybenion doeth a sanctaidd y Prif Lywodraethwr ynddynt oll. Ni fu i un hanesiaeth cyffredin y fath ysgrifenwyr. Ysgrifenwyd yr holl hanes yma gan ddynion yn dwyn gyda hwy arwyddion a thystiolaethau amlwg eu bod yn brophwydi y Duw Goruchaf, wedi eu hysbrydoli ganddo ef; ac er mai *hanesion* ydynt, eto gan y cynnwysant y dygwyddiadau rhagluniaethol mawrion hyny, trwy ba rai y dangosir pa fodd y mae Duw yn cario yn mlaen waith gogoneddus y prynedigaeth o oes i oes, nid ydynt yn llai cyflawn o addysg ddwyfol, ac o'r pethau hyny sydd yn dangos allan Grist a'i efengyl ogoneddus, na'r rhanau ereill o'r ysgrythyrau sanctaidd.

Gwrthddadleu dwyfoldeb llyfr, yn unig am ei fod yn hanesyddol, sydd fympwy gwael; fel pe na byddai bosibl i lyfr, yn rhoddi hanes am bethau wedi myned heibio, fod yn air Duw; neu fel pe na byddai yn rhesymol meddwl i Dduw, mewn chwyldröad i ddynolryw, drosglwyddo i ni un hanes am oruchwyliaethau ei ragluniaeth ei hun. Os felly, rhaid mai am nad yw ei weithredoedd yn teilyngu eu cofrestru; neu o herwydd fod cynllun ei lywodraeth, a chyfres ei oruchwyliaethau tuag at ei eglwys a'r byd, yn rhy annheilwng i unrhyw goffadwriaeth o honynt gael ei gadw.

Yr wrthddadl, mai peth cyffredin i genedloedd a theyrnasoedd ydyw ysgrifenu a chadw coffadwriaeth am eu rhyfeloedd, a'r chwyldröadau a gymerant le yn eu tiriogaethau, sydd mór bell oddiwrth fod yn wrthddadl bwysig yn erbyn y rhanau hanesyddol o'r ysgrythyr, megys pe na byddai yn air Duw, fel y mae yn hytrach yn rheswm cryf o'i phlaid. Canys os yw goleuni natur yn dysgu i genedloedd gwaraidd gadw coffadwriaeth o ddygwyddiadau eu llywodraeth a chyfres eu gweinyddiaethau, a chyhoeddi eu hanesion er addysg i ereill, pa faint mwy y gallwn ddysgwyl fod Duw wedi rhoddi i'r byd gyfres o oruchwyliaethau ei lywodraeth ef, yr hyn yn ddiddadl sydd hanesyddiaeth anfeidrol mwy teilwng, er ein haddysg ni? Os cymerodd breninoedd

doethion ofal am gadw hanesion cywir am y cenedloedd yr oeddynt hwy yn teyrnasu arnynt, a ddylem ni dybied yn anghredadwy fod Iesu Grist wedi cymeryd gofal am roddi i'w eglwys, yr hon yw ei deyrnas ef, a'i bobl neillduol, hanes anffaeledig yn eu dwylaw am eu cenedl, a'i lywodraeth ef arnynt?

Pe na fuasai hanesyddiaeth yr Hen Destament genym, mór druenus o anwybodus a fuasem mewn llawer o bethau anghenreidiol i eglwys Dduw eu gwybod! Mór anwybodus am ymddygiadau Duw tuag at ddynolryw, a thuag at ei eglwys, o'r dechreuad!—am greadigaeth y byd, cwymp dyn, a dechreuad a chynydd parhaus goruchwyliaethau gras tuag at ddynolryw syrthiedig! Ni buasem yn gwybod dim pa fodd y gosododd Duw ei deyrnas i fyny yn y byd, na pha fodd y diogelwyd hi; yn ol pa drefn y llywodraethwyd hi ganddo o'r dechreuad; y modd y dechreuodd goleuni yr efengyl wawrio ar y byd; y modd y cynyddodd; a'r modd yr oedd pethau yn cael eu darparu erbyn dyfodiad Crist.

Os ydym ni yn Gristionogion, yr ydym yn perthyn i'r adeiladaeth fawr hon o eiddo Duw; ac oni buasai hanesyddiaeth yr Hen Destament, ni buasem byth yn gwybod beth fu yr achos i Dduw fyned gyntaf yn nghylch yr adeiladaeth hon, na pha fodd y gosodwyd ei sail-faen i lawr, ac y dygwyd hi yn mlaen o'r dechreuad. Mae amseroedd hanesyddol yr Hen Destament gan mwyaf yn gyfryw nad ydynt yn cael eu cynnwys mewn un hanes arall; ac am hyny, pe na buasai i Dduw gadw cyfrif o'r pethau hyn yn ei air, buasem hebddynt yn hollol.

Y rhai a ddadleuant yn erbyn awdurdod yr Hen Destament, a allant cystal wrthddadleu yn erbyn hanes Moses o'r greadigaeth; canys, yn y blaenaf, y mae genym hanes gorchwyl nad ydyw o lai pwys, sef gwaith y prynedigaeth. Ië, y mae yn orchwyl llawer mwy a gogoneddusach. Pe gofynid, pa un o'r ddau waith yw y mwyaf, gwaith y greadigaeth ynte gwaith rhagluniaeth? Rhaid ateb mai gwaith

rhagluniaeth; ond gwaith y prynedigaeth yw y penaf o weithredoedd rhagluniaeth. A bydded i'r rhai hyny a wrthddadleuant fel hyn, ystyried pa ran o hanesyddiaeth yr Hen Destament a ellir hebgor, heb wneyd rhwyg mawr yn nghadwyn neu restr y dygwyddiadau, trwy ba rai y dygwyd y gwaith gogoneddus hwn yn mlaen. Y mae hyn yn fy arwain i sylwi,

IV. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, nyni a allwn ganfod llawer o *ddoethineb Duw yn nghyfansoddiad ysgrythyrau yr Hen Destament.* Cymerwn olygiad byr ar ei amrywiol ranau, a'r anghenreidrwydd oedd am danynt.

Yr oedd yn anghenreidiol, er enghraifft, i ni gael rhyw hanes am greadigaeth y byd, a'n rhieni cyntaf yn eu cyflwr dechreuol; am y cwymp, am yr hen fyd a'i ddirywiad; am y dylif cyffredinol, a dechreuad y cenedloedd wedi dinystr cyffredinol dynolryw.

Ymddengys yn anghenreidiol, yn mhellach, fod rhyw hanes am olyniaeth eglwys Dduw o'r dechreuad. Goddefodd Duw i'r holl fyd ymddirywio, a chymerodd un genedl yn unig iddo ei hun, i gynnal ei addoliad a gwir grefydd, hyd oni ddeuai Gwaredwr y byd. Ynddynt hwy y graddol ragddarparwyd y byd i'r Goleuni mawr hwnw, a'r pethau rhyfeddol yr oedd efe i fod yn awdwr iddynt. Fel hyn yr oeddynt yn genedl gysgodol, fel y gallai Duw ynddynt hwy gysgodi allan a dysgu, megys dan orchudd, holl ogoneddus bethau dyfodol yr efengyl. Yr oedd gan hyny yn anghenreidiol fod genym ryw hanes am hyn; y modd y cafodd ei effeithio trwy alwad Abraham, a phan yr oeddynt yn gaethweision yn yr Aifft, a pha fodd y dygwyd hwy i Ganaan. Yr oedd yn anghenreidiol fod genym ryw hanes am y datguddiad a wnaeth Duw o hono ei hun i'r bobl hyn, yn rhoddiad y ddeddf, yn sefydliad eu haddoliad cysgodol, yn yr hyn y mae yr efengyl yn cael ei gorchuddio, ac am ffurfiad eu llywodraeth wladol ac eglwysig.

Ymddengys yn anghenreidiol fod genym ryw hanes am eu dygiad yn ddiangol i Ganaan, y wlad a addawsid iddynt,

lle yr oeddynt i breswylio yn wastadol; a bod genym hanes am olyniadau eglwys Israel, a'r rhagluniaethau hyny o eiddo Duw tuag atynt, y rhai oeddynt fwyaf hynod a chyflawn o ddirgelwch efengylaidd; fod genym ryw hanes am ogoniant allanol addawedig y genedl hono dan Dafydd a Solomon, ac yn neillduol dan deyrnasiad Dafydd, hanes yr hwn sydd mór gyflawn o efengyl, ac yn ýr hwn y dechreuodd llinach eu breninoedd; a bod genym ryw hanes am adeiladu y deml, yr hyn hefyd oedd yn llawn o ddirgelwch efengylaidd.

Ac y mae yn beth o bwys, fod genym ychydig o hanes ymraniad Israel oddiwrth Iudah, ac o hollol wrthodiad a chaethiwed y deg llwyth, ac am hyny hanes byr am danynt hyd yr amser hwnw; fod genym ychydig o hanes olyniaeth breninoedd Iudah, a'r eglwys, hyd y caethgludiad i Babilon; am eu dychweliad o gaethiwed, a'u hail-sefydliad yn eu gwlad eu hunain, yn nghyda dechreuad sefyllfa ddiweddaf yr eglwys cyn dyfodiad Crist.

Gall ychydig o ystyriaeth wneyd yn amlwg i bob dyn, fod yr holl bethau hyn yn angheureidiol, ac nas gallesid hebgor un o honynt; ac yn y cyffredinolrwydd, yr oedd yn angheureidiol fod genym hanes eglwys Dduw hyd yr amseroedd sydd yn dyfod o fewn cyrhaedd hanesyddiaeth ddynol. Ac yr oedd o bwys i ni fod yn meddu hanesyddiaeth wedi ei thraddodi trwy ddwyfol ysbrydoliaeth am yr amseroedd yr oedd cymdeithas mwy anghyffredinol rhwng yr eglwys Iuddewig a Duw, pan yr oedd efe yn arfer preswylio yn eu mysg hwy megys yn weledig, ac yn datguddio ei hun trwy y Sechinah, trwy Urim a Thumim, a thrwy brophwydoliaeth, ac felly yn trefnu eu gorchwylion yn fwy digyfrwng. Ac yr oedd yn anghenreidiol i ni gael, mewn prophwydoliaeth, ryw hanes am oruchwyliaethau mawrion Duw wedi gorpheniad hanesyddiaeth ysbrydoledig; ac i hyn yr oedd yn anghenreidiol codi i fyny nifer o brophwydi, y rhai a ragfynegent ddyfodiad Mab Duw, a natur a gogoniant ei

deyrnas, megys cynnifer o ragredegwyr i wneyd ffordd iddo, a bod i'w prophwydoliaethau aros yn yr eglwys.

Yr oedd hefyd yn ddymunol for yr eglwys yn meddu ar lyfr o ddwyfol ganiadau, wedi ei roddi trwy ysbrydoliaeth oddiwrth Dduw, yn mha un y byddai arddangosiad bywiog o wir ddyhewyd, o ffydd, gobaith, a chariad dwyfol, o lawenydd, hunan-ymwadiad, gostyngeiddrwydd, ufudddod, edifeirwch, &c., megys y Salmau; ac hefyd fod genym y cyfryw lyfrau oddiwrth Dduw yn cynnwys y fath addysgiadau moesol a'r Diarhebion a'r Pregethwr, y rhai ydynt mór berthynol i achosion a sefyllfa dynolryw, ac amgylchiadau bywyd dynol, ac yn cynnwys rheolau gwir ddoethineb a synhwyr er ein hymddygiad yn mhob amgylchiad; a bod genym gân neillduol yn arddangos y cariad mawr rhwng Crist a'i ddyweddi, yr eglwys, wedi ei fabwysiadu at dueddfryd a serchiadau sanctaidd enaid y gwir Gristion tuag at Grist, ac yn arddangos ei ras a'i gariad didrai yntau tuag at ei bobl, a'i hyfrydwch ynddynt, megys Caniad Solomon. Y mae o bwys fod genym lyfr i'n dysgu pa fodd i ymddwyn ein hunain dan gystuddiau, gan mai mewn sefyllfa filwraidd y mae eglwys Dduw yma, a thrwy lawer o orthrymderau y mae ei bobl ef yn myned i mewn i deyrnas nef. Mae yr eglwys am amser maith mewn helbul, yn cyfarfod â phrofedigaethau tanllyd a dyoddefiadau eithaf, cyn ei hamser o heddwch a gorphwysdra yn oesoedd diweddaf y byd. Gan hyny Duw a roddodd i ni y llyfr mwyaf priodol yn yr amgylchiadau hyn, sef llyfr Iob; ac er ei ysgrifenu ar achlysur cystuddiau un sant neillduol, rhoddwyd ef ar y cyntaf mae yn debygol i'r eglwys yn yr Aifft pan oedd yn cael ei gorthrymu yno; a gwneir defnydd o hono gan yr apostol i gysuro Cristionogion dan erlidigaethau. Iago 5. 11. "Chwi a glywsoch am amynedd Iob, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd: o blegyd tosturiol iawn yw yr Arglwydd, a thrugarog." Rhyngodd bodd i Dduw hefyd roddi i ni, yn llyfr Iob, olwg byr ar dduwinyddiaeth yr hen amser cyn rhoddiad y ddeddf.

Fel hyn, meddyliwyf, yr ymddengys oddiwrth yr adolygiad byr hwn, fod pob rhan o ysgrythyrau yr Hen Destament yn hynod o fuddiol ac angheuraidiol, ac nad ellir hebgor un rhan o hono heb golled i'r eglwys. Ac am hyny y mae doethineb Duw i'w weled yn eglur yn trefnu i ysgrythyrau yr Hen Destament fod yn gynnwysedig o'r unig lyfrau a gynnwysant.

Cyn gadael y pwngc hwn, ychwanegaf, mai teilwng yw sylwi bod hanesyddiaeth yr Hen Destament yn helaeth a manwl lle y mae gwaith mawr y prynedigaeth yn gofyn hyny; yn enwedig lle y gwnaed mwyaf tuag at y gwaith hwn, a'r pethau mwyaf i gysgodi Crist, ac i barotoi y ffordd iddo ef. Fel hyn y mae yn hynod o fanwl yn hanes Abraham a'r patriarchiaid ereill; ond yn hynod fyr yn ei hanes o'r amser a dreuliodd plant Israel yn yr Aifft. Y mae yn helaeth yn hanes y waredigaeth allan o'r Aifft, a sefydliad cyntaf yr eglwys Iuddewig a'r genedl yn amser Moses a Ioshua; ond yn llawer byrach yn amseroedd y Barnwyr. Felly drachefn, y mae yn helaeth a manwl yn amseroedd Dafydd a Solomon, ac yn hynod o fyr am y teyrnasiadau a ganlynasant. Yr hanesion fel hyn ydynt helaeth neu fyr, yn ol fel y mae mwy neu lai o waith y prynedigaeth i'w weled ynddynt.

V. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn weled mai *Crist a'i brynedigaeth ydyw testun mawr yr holl Fibl.* Mewn perthynas i'r Testament Newydd, mae yr hyn a gynnwysir ynddo yn amlwg; ac oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ymddengys ei bod felly gyda golwg ar yr Hen hefyd. Crist a'i brynedigaeth ydyw testun prophwydoliaethau cystal a chaniadau yr Hen Destament, fel y dangoswyd; a'r rheolau moesol a'r gorchymynion a roddwyd oll yn is-wasanaethgar iddo ef. Crist a'i brynedigaeth hefyd ydynt destun mawr hanesyddiaeth yr Hen Destament, o hyd o'r dechreuad; ac y mae hyd yn nod hanes gwaith y greadigaeth yn cael ei roddi fel rhagarweiniad i hanes y prynedigaeth yr hwn yn union-gyrchol a'i dilynodd. Mae yr holl lyfr, yr

Hen Destament cystal a'r Newydd, wedi ei lenwi i fyny â'r efengyl; yn unig gyda hyn o wahaniaeth, sef fod yr Hen Destament yn cynnwys yr efengyl dan lén, ond y mae y Newydd yn ei chynnwys yn ddiorchudd, fel yr ydym yn gallu gweled gogoniant yr Arglwydd â gwyneb agored.

VI. Trwy yr hyn a ddywedwyd, gallwn weled *defnyddioldeb a rhagoriaeth yr Hen Destament.* Mae rhai yn barod i edrych arno fel allan o amser, ac fel pe na b'ai genym ni, yn y dyddiau hyn dan yr efengyl, ond ychydig i'w wneyd âg ef. Ond y mae hyn yn gamgymeriad mawr, yn tarddu oddiar ddiffyg sylwi ar natur a dyben yr Hen Destament, yr hwn, pe sylwid yn fanwl arno, a ymddangosai yn llawn o efengyl Crist, ac a eglurai ac a gadarnhâi mewn dull rhagorol athrawiaethau ac addewidion gogoneddus y Testament Newydd. Y rhanau hyny o'r Hen Destament, yr edrychir arnynt yn gyffredin fel yn cynnwys lleiaf o addysg ddwyfol, ydynt fwngloddiau a thrysorau o wybodaeth efengylaidd; a'r achos paham y meddylir eu bod yn cynnwys cyn lleied yw, am nad yw dynion yn eu darllen ond yn arwynebol. Nid ydyw y trysorau sydd yn nghudd odditanodd yn cael sylwi arnynt. Nid ydynt hwy yn edrych ond yn unig ar wyneb y maes, gan roddi barn ferbwyll nad oes dim ynddo. Ond nid ydynt byth yn cloddio hyd y mŵnglawdd: pe gwnelent, hwy a ganfyddent ei fod wedi ei drysori yn ysblenydd â'r hyn sydd werthfawrocach nac arian ac aur, a gwobrwyid hwy yn haelionus am eu poen.

Y mae yr hyn a ddywedwyd yn dangos y fath drysor gwerthfawr a gyflëodd Duw i'n dwylaw, yn ei waith yn rhoddi i ni y Bibl. Gán lleied y mae y rhan fwyaf o bobl yn ystyried gwerth y fraint y maent yn ei mwynhau, gan fod y llyfr sanctaidd hwn yn eu meddiant, yr hwn sydd ganddynt yn eu dwylaw, ac â'r hwn y gallant gydymddyddan pan y mynont. Y fath lyfr rhagorol yw hwn, ac mór bell y mae yn myned heibio i bob ysgrifeniadau dynol! Y mae yn datguddio Duw i ni, ac yn rhoddi i ni olwg ar brif ddyben a dyfais ogoneddus Rhagluniaeth o ddechreuad

y byd, naill ai mewn hanesyddiaeth ai mewn prophwydoliaeth. Y mae yn datguddio y Gwaredwr mawr, ei brynedigaeth gogoneddus, yn nghyda 'r amrywiol gamrau a gymerodd efe i'w gyflawni, o'i sylfaeniad cyntaf hyd y maen uchaf! A gyfrifir yn werthfawr genym hanesyddiaeth am ryw dywysog daearol enwog, neu ryfelwr galluog, megys Alexander, Cæsar, neu Marlborough? ac oni werthfawrogir genym yr hanes a rydd Duw i ni am deyrnas ogoneddus ei Fab Iesu Grist, y Tywysog a'r Iachawdwr, ac am weithrediadau mawrion Brenin y breninoedd, ac Arglwydd y lluoedd, yr Arglwydd cadarn mewn rhyfel; a'r hyn a wnaeth efe er gwaredu ei bobl ddewisedig.

VII. Gall yr hyn a ddywedwyd ein gwneyd yn deimladwy cymaint y mae y rhan fwyaf o *bobl i'w beio am eu dull diofal a disylw yn darllen yr ysgrythyrau.* Cymaint y mae yr ysgrythyrau yn ei gynnwys, pe byddai i ni ond sylwi arnynt! Y Bibl yw y llyfr mwyaf cynnwysfawr yn y bŷd. Ond pa les a gawn ni oddiwrtho, os darllenwn ef heb ystyried beth ydyw amcan yr Ysbryd Glan ynddo? Yr oedd y Salmydd (Salm 119. 18) yn erfyn ar i Dduw "agor ei lygaid, fel y gwelai bethau rhyfedd allan o'i gyfraith ef." Mae yr ysgrythyrau yn llawn o ryfeddodau. Yr hanesion hyny a ddarllenir yn rhy gyffredin fel pe na byddent ond yn unig yn perthyn i achosion teuluaidd a phersonau neillduol, megys Abraham, Isaac, Iacob a Ioseph; Ruth, Ioshua, y Barnwyr, Dafydd, a thywysogion Israel, ydynt hanesion pethau llawer mwy eu pwys, ac achos llawer mwy ëang.

Darllenir hanesyddiaeth yr ysgrythyrau yn rhy gyffredin fel pe na baent ond ffug-chwedlau wedi eu hysgrifenu i foddio anian-duedd dynion yn unig, ac eir dros y pethau anfeidrol bwysig a gynnwysir ynddynt heb sylwi arnynt. Pa drysorau bynag a gynnwysir yn yr ysgrythyrau, ni byddwn byth yn well erddynt oni wnawn sylw o honynt. Yr hwn sydd yn meddu Bibl, ac heb sylwi ar yr hyn a gynnwysa, sydd gyffelyb i ddyn yn meddu cist lawn o arian ac aur, ac yntau heb wybod hyny. Ni fydd byth yn well o'i

drysor, ac felly byddai cystal iddo fod hebddo. Yr hwn sydd yn meddu helaethrwydd o'r ymborth mwyaf dewisol yn ei dŷ, ac heb wybod, fydd byth heb archwaethu yr hyn sydd ganddo, ac a fydd mór debyg o newynu a phe buasai ei dŷ yn wag.

VIII. Dengys y pethau a ddywedwyd i ni y *fath berson mawr yw Iesu Grist, ac mór fawr oedd ei neges yn y byd*, gan ein bod yn gweled i gymaint gael ei wneyd i barotoi y ffordd i'w ddyfodiad. Yr oedd Duw wedi bod yn parotoi y ffordd iddo trwy holl oesoedd y byd o'r dechreuad cyntaf. Pe cawsem rybudd fod rhyw ddyeithryn yn nghylch dyfod i wlad, a sylwi ar y parotoi mawr fyddai ar ei gyfer, cyfnewidiadau yn cael eu gwneyd yn sefyllfa y wladwriaeth, y lluaws dwylaw a roddid ar waith, personau o enwogrwydd yn cynorthwyo yn y parotöad; a holl orchwylion a pherthynolion y wladwriaeth wedi eu trefnu fel ag i fod yn wasanaethgar i'r dyben o'i roesawu ef; byddai yn naturiol i ni ddywedyd, rhyw berson mawr anghyffredin yw hwn, ac y mae yn rhaid mai at ryw orchwyl mawr y mae yn dyfod. Y fath berson mawr, gan hyny, a raid ei fod ef, erbyn dyfodiad yr hwn y bu Duw mawr y nefoedd a'r ddaear, a Llywodraethwr pob peth, bedair mil o flynyddoedd yn parotoi y ffordd! Yn fuan wedi creu y byd, ac o oes i oes, y mae wedi bod yn gwneyd pethau mawrion, yn dwyn oddiamgylch ddygwyddiadau galluog, ac yn cyflawni rhyfeddodau heb rif, ac yn fynych yn dadymchwelyd y byd mewn trefn i hyn. Y mae wedi achosi pob peth yn sefyllfa dynolryw, a'r holl chwyldroadau a'r cyfnewidiadau yn y byd trigianol, o genedlaeth i genedlaeth, i fod yn wasanaethgar i'r dyben mawr hwn. Yn sicr rhaid mai rhyw berson mawr ac anghyffredin ydyw hwn, ac yn wir y mae yn rhaid fod y y gwaith y daeth efe i'w wneuthur yn fawr!

Yr ydym yn darllen, (Matt. 21. 8. 10.) pan oedd Crist yn myned i Ierusalem, a'r lluaws yn rhedeg o'i flaen, ac yn tóri cangau o'r gwydd, ac yn eu taenu ar hyd y ffordd; ac ereill yn lledu eu dillad, ac yn llefain, "Hosannah i Fab

Dafydd," fod yr holl ddinas wedi cynhyrfu, ac yn dywedyd, Pwy ydyw hwn? Hwy a synasant, gan fod y fath gynhwrf ar yr achlysur o'i ddyfodiad ef i'r ddinas, a'r fath barotoi iddo ar y ffordd. Ond ped ystyriem y pethau mawrion a wnaed yn yr holl oesoedd i barotoi y ffordd i ddyfodiad Crist, fel y mynych ddadymchwelwyd y byd i hyny, mwy o lawer y gallem waeddi, Pwy yw hwn? Y fath berson mawreddus yw hwn? a dywedyd, gyda'r Salmydd, (Salm 24. 8, 10.) "*Pwy yw Brenin y gogoniant hwn*, gan fod Duw yn dangos y fath barch iddo, ac yn gosod y fath anrhydedd arno? Yn sicr y mae efe yn anrhydeddus yn ngolwg Duw, ac yn anwyl iawn ganddo; a diau fod y neges, ar ba un y mae yn cael ei anfon, yn un fawr.

---

## CYFNOD II.

### O YMUNIAD CRIST A CHNAWD HYD EI ADGYFODIAD.

Wedi dangos pa fodd y dygwyd gwaith y prynedigaeth yn mlaen trwy y cyfnod cyntaf, sef o'r cwymp hyd ymuniad Crist â chnawd; deuaf yn awr at yr ail gyfnod, sef amser darostyngiad Crist, neu yr yspaid amser o'i ymuniad â chnawd hyd ei adgyfodiad. A hwn oedd yr amser mwyaf hynod a fu erioed ac a fydd byth Ac er nad oedd ond rhwng deg-ar-hugain a deugain mlynedd, eto fe wnaed mwy ynddo nac a wnaethpwyd o ddechreuad y byd hyd hyny. Sylwasom fod yr holl ddygwyddiadau o'r cwymp hyd gnawdoliaeth Crist yn rhagbarotöawl yn unig i'r hyn a wnaed yn awr.. A gellir sylwi hefyd, fod yr hyn a wnaed cyn dechreuad amser rhwng Personau y Drindod Fendigaid yn y cynghor tragywyddol, yn perthynu yn benaf i'r amser hwn. Awn rhagom gan hyny yn awr i ystyried yr *ail osodiad*, sef

*Mai yn ystod amser darostyngiad Crist, o'i ymuniad á chnawd hyd ei adgyfodiad, y gwnaed pwrcas y prynedigaeth.*

Er fod llawer o bethau wedi cael eu gwneyd yn ngwaith y prynedigaeth, er i filiynau o aberthau gael eu hoffrymu; eto nid oedd dim wedi ei wneyd i *bwrcasu* prynedigaeth cyn i Grist ymuno â chnawd. Nid oedd un rhan o'r pwrcas wedi ei wneyd, nac un rhan o'r pridwerth wedi ei gynyg hyd yn awr. Ond cán gynted ag yr ymunodd Crist â chnawd, dechreuwyd y pwrcas. Ac fe gymerwyd holl amser darostyngiad Crist, hyd y boreu yr adgyfododd efe oddiwrth y meirw, i wneyd y pwrcasiad hwn. Yna y pwrcas a orphenwyd yn hollol ac yn gyflawn. Megys na wnaed dim cyn ymuniad Crist â chnawd, i bwrcasu prynedigaeth i ddynion, felly ni wnaed dim wedi ei adgyfodiad ef: ac ni wneir dim yn ychwaneg ychwaith i bob tragywyddoldeb. Canys yr eiliad y rhyddhäwyd natur ddynol Crist odditan awdurdod marwolaeth, fe dalwyd y ffyrling eithaf o bridwerth iachawdwriaeth pob un o'r prynedigion.

Ond er mwyn ystyried y pethau mawrion a wnaed gan ein Prynwr i bwrcasu prynedigaeth i ni, yn fwy trefnus a rheolaidd, caf lefaru am ei *ddyfodiad i wisgo cnawd, er gosod ei hun mewn sefyllfa addas i'w bwrcasiad*—ac am *y pwrcasiad ei hun.*

---

## PENNOD I.

*Am ymuniad Crist â Chnawd.*

Cymerodd Crist arno ein natur ni, neu, yr hyn sydd yr un peth, daeth yn ddyn, er mwyn gosod ei hun mewn sefyllfa i weithio allan ein prynedigaeth. Canys, er fod Crist,

fel Duw, yn anfeidrol ddigonol i'r gorchwyl, eto, i fod mewn sefyllfa briodol i hyny, yr oedd yn ofynol iddo nid yn unig fod yn Dduw, eithr yn ddyn. Pe buasai Crist yn aros yn unig yn y natur ddwyfol, ni buasai mewn sefyllfa i bwrcasu ein hiachawdwriaeth; nid am fod unrhyw anmherffeithrwydd yn y natur ddwyfol, ond o herwydd ei hollol a'i hanfeidrol berffeithrwydd: canys nid oedd Crist, yn unig fel Duw, yn addas i'r ufudd-dod neu y dyoddefiadau oedd yn ofynol. Nid yw y natur ddwyfol yn meddu cymhwysder i *ddyoddef*, oblegyd y mae yn anfeidrol uwchlaw pob dyoddefaint. Nid oes addasrwydd ynddi chwaith i *ufuddhau* i'r gyfraith a roddwyd i ddyn. Mae mór annichonadwy i un nad yw ond Duw yn unig, ufuddhau i'r gyfraith a roddwyd i ddyn, ag ydyw iddo ddyoddef cospedigaeth dyn.

Ac yr oedd yn anghenreidiol i Grist nid yn unig gymeryd arno natur greëdig, ond ein natur *ni*. Nid digon fuasai i Grist ddyfod yn *angel*, ac ufuddhau a dyoddef yn y natur angelaidd. Ond yr oedd yn anghenreidiol iddo ddyfod yn *ddyn*, ar dair ystyriaeth.

1. Mewn trefn i ateb i'r ddeddf, yr oedd yn ofynol i'r *unig natur y rhoddwyd y ddeddf, ufuddhau iddi.* Nis gallesid ateb gofynion y ddeddf a roddwyd i ddyn, ond trwy ufudd-dod oddiwrth ddyn. Yr oedd Duw yn gofyn i'r ddeddf a roddasai i ddyn gael ei hanrhydeddu a'i chyflawni gan y natur ddynol, ac heb hyny nid oedd modd ateb gofynion y ddeddf dros ddynion. Yr ymadrodd, "Na fwyta o hono," &c., a lefarwyd wrth ddynolryw, i'r natur ddynol; ac am hyny rhaid i'r natur ddynol eu cyflawni.

2. Yr oedd yn ofynol, i'r dyben o ateb gofynion y ddeddf, i'r *natur a bechodd farw.* Mae y geiriau hyn, "Gan farw ti a fyddi farw," yn perthyn i'r natur ddynol. Yr un natur ag y rhoddwyd y gorchymyn iddi, oedd yr un y cyfeiriwyd y bygythiad ati.

3. Gwelodd Duw yn dda *i'r un byd ag a fuasai yn orsaf cwymp a dinystr dyn, fod hefyd yn orsaf ei brynedigaeth.* Yr ydym yn darllen yn fynych i Grist ddyfod i'r byd i

gadw pechaduriaid, ac am Dduw yn ei anfon ef i'r byd i'r dyben hwnw. Yr oedd yn ofynol iddo ddyfod i lawr i'r byd pechadurus, truenus ac andwyol hwn, er ei adferyd a'i achub. Canys yr oedd yn ofynol iddo, er adferyd dyn, ddyfod i lawr at ddyn, i drigle priodol dyn, fel y pabellai gyda ni. Ioan 1. 14. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni."

Mewn perthynas i gnawdoliaeth Crist, sylwaf ar y pethau canlynol.

I. Y *cnawdoliaeth ei hun;* yn yr hyn y mae dau beth i'w hystyried yn neillduol.

1. Ei *genedliad;* yr hyn a gymerodd le yn mru un o'r rhyw ddynol, trwy yr hyn y daeth yn wir Fab dyn, fel yr oedd yn cael ei alw yn fynych. Yr oedd ef yn un o hiliogaeth Adda, yn blentyn i Abraham, ac yn fab i Dafydd, yn ol addewid Duw. Eithr nid oedd ei genedliad yn y ffordd naturiol, ond trwy allu yr Ysbryd Glan. Cafodd Crist ei ffurfio yn mru y wyryf, o sylwedd ei chorff, trwy allu Ysbryd Duw. Felly yr oedd yn uniongyrchol fab y wraig, ond nid oedd yn fab i un dyn yn uniongyrchol; ac felly yr oedd yn had y wraig, ac yn fab gwyryf, yr hon nid oedd erioed wedi adnabod gwr.

2. Ei *enedigaeth.* Er fod cenedliad Crist yn oruwchnaturiol, eto, wedi ei genedliad, yr oedd ei natur ddynol yn cael ei pherffeithio yn raddol yn mru y wyryf, yn ffordd naturiol cynyddiant; ac felly yr oedd ei enedigaeth yn ol trefn natur. Ond gan fod ei genedliad yn oruwchnaturiol, trwy allu yr Ysbryd Glan, cenedlwyd a ganwyd ef heb bechod.

II. Yr ail beth y sylwaf arno mewn perthynas i gnawdoliaeth Crist, yw *cyflawnder yr amser* y dygwyd hyny oddiamgylch. Cymerodd hyn le wedi i bethau fod yn cael eu parotoi ar ei gyfer er cwymp dynoliaeth, a phan yr oedd pob peth yn barod. Efe a ddaeth mewn amser, yr hwn yn ngolwg anfeidrol ddoethineb, oedd y mwyaf cyfaddas a phriodol. Gal. 4. 4. "Ond pan ddaeth cyflawnder yr

amser. y danfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf."

Yn awr oedd yr amser mwyaf priodol ar bob ystyriaeth. Ni buasai unrhyw bryd cyn y dylif yn amser mór gyfaddas: canys nid oedd y drygau a'r dinystr a ddygodd y cwymp ar ddynolryw i'w gweled mór amlwg y pryd hwnw. Nid oedd y felldith wedi dyfod mór gyflawn ar y ddaear cyn y dylif ag y daeth wedi hyny: canys er fod y ddaear wedi ei mellditbio i fesur helaeth o'r blaen, eto fe welodd Duw yn dda fod i'r felldith unwaith, cyn yr adferiad trwy Grist, gael ei chwblhau trwy ddinystr cyffredinol, fel pe buasai o unig ffurf y ddaear, fel y byddai i effeithiau echrys y cwymp unwaith ymddangos cyn yr adferiad. Er mai marwolion oedd dynolryw cyn y dylif, eto yr oedd eu bywyd yn parhau yn agos i fil o flynyddoedd, math o anfarwoldeb mewn cydmariaeth i'r peth yw einioes dyn yn awr. Gwelodd Duw yn dda i'r felldith, "Pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli," gael ei llawn gwblhau, a'i chyflawni ar ddynolryw i'r radd helaethaf, cyn i'r Prynwr ddyfod i bwrcasu bywyd diderfyn.

Ni buasai yn amser mór gyfaddas i Grist ddyfod, o flaen Moses; canys nid oedd dynolryw hyd yn hyn wedi gwrthgilio mór gyffredinol oddiwrth y gwir Dduw; nid oeddynt wedi syrthio yn gyffredinol i dywyllwch paganiaeth; ac felly nid oedd yr anghenreidrwydd am Grist, Goleuni y byd, mór amlwg. Nid oedd canlyniad aethus y cwymp, gyda golwg ar farwoldeb dyn, wedi cael ei amlygu mór gyflawn hyd y pryd hwnw; canys nid oedd oes dyn wedi ei chwtogi, a'i dwyn i'w hŷd presennol, hyd o gylch amser Moses.

Yr oedd yn fwy addas i amser dyfodiad y Messiah gael ei oedi, hyd oni byddai i'r holl genedloedd, oddyeithr plant Israel, hir orwedd yn nhywyllwch paganiaeth; fel y byddai i anfeddyginiaetholrwydd eu hafiechyd, wedi y fath hir brawf, ymddangos yn fwy amlwg, ac felly yr anghenreidrwydd anhebgorol am y Meddyg nefol.

Rheswm arall paham na ddaeth Crist yn fuan wedi y

dylif, mae yn debygol oedd, fel y gallai y ddaear fod yn llawn o bobl, ac o ganlyniad ei deyrnas ef yn ehangach; fel y byddai i effeithiau ei oleuni, ei allu, a'i ras gael eu gogoneddu; ac fel y byddai i'w oruchafiaeth ef ar Satan gael ei dilyn â mwy o ogoniant yn amlder ei fuddugoliaethau. Yr oedd hefyd yn ofynol i ddyfodiad Crist fod amryw oesoedd wedi amser Moses, fel y byddai i'r eglwys gael ei pharotoi erbyn hyny trwy y cysgodi, y rhagfynegu, a'r hir ddysgwyl am y Messiah. Ni fuasai yn briodol iddo ddyfod cyn y caethgludiad i Babilon, oblegyd nid oedd teyrnas Satan y pryd hwnw wedi ei dyrchafu i'w rhwysg eithaf. Yr oedd y byd paganaidd yn flaenorol i hyny yn cael ei wneyd i fyny o deyrnasoedd bychain. Ond Duw a welodd yn addas i'r Messiah ddyfod yn amser un o'r pedair unbenaeth fawr. Nid priodol fuasai iddo ddyfod ychwaith yn amser yr unbenaethau Babilonaidd, Persiaidd, na Groegaidd. Ewyllys Duw ydoedd i'w Fab wneyd ei ymddangosiad yn y byd yn amser yr unbenaeth Rufeinig, yr ehangaf a'r gadarnaf o honynt, yr hon oedd teyrnas weledig Satan yn y byd; fel y byddai iddo, yn nadymchweliad hon, orchfygu teyrnas weledig Satan yn ei nerth a'i gogoniant mwyaf, ac felly ennill buddugoliaeth fwy cyflawn ar Satan ei hun.

Nid priodol fuasai i Grist ddyfod cyn y caethiwed Babilonaidd. Oblegyd nid oes genym hanesion yn flaenorol i hyny am sefyllfa y byd paganaidd, i roddi i ni un meddylddrych o'r anghenreidrwydd am Iachawdwr. Heblaw hyny, nid oedd dysgeidiaeth mór flodeuog, ac felly ni chawsid cyfle i ddangos annigonolrwydd dysgeidiaeth a doethineb dynol i ddiwygio ac achub y byd. Drachefn, nid oedd yr Iuddewon wedi eu gwasgaru dros y byd, fel yr oeddynt wedi hyny; ac felly nid oedd pethau gyda golwg ar hyn wedi eu darparu erbyn dyfodiad Crist. Nid oedd yr anghenreidrwydd am ddyddimu yr oruchwyliaeth Iuddewig wedi dyfod mór amlwg y pryd hwnw ac y daeth wedi hyny, o herwydd gwasgariad yr Iuddewon; ac nid oedd y ffordd

i ledaenu yr efengyl wedi ei pharotoi ychwaith, fel yr oedd wedi hyny, trwy yr un gwasgariad. Llawer o bethau ereill a ellid enwi, trwy ba rai yr ymddangosai na buasai unrhyw amser yn flaenorol i'r unig amser y daeth Crist, yn briodol i'w ymddangosiad.

III. Y peth nesaf y sylwaf arno mewn perthynas i gnawdoliaeth Crist, yw *mawredd y dygwyddiad.* Yr oedd cnawdoliaeth Crist yn beth mwy hynod a rhyfeddol na dim â gymerasai le eto. Yr oedd creadigaeth y byd yn beth hynod o fawr, ond nid cymaint a chnawdoliaeth Crist. Yr oedd gwneuthur y creadur yn waith mawr o eiddo Duw, ond nid cymaint ag i'r Creawdwr ei hun ddyfod yn greadur. Soniasom am lawer o bethau mawrion a gyflawnwyd rhwng cwymp dyn a chnawdoliaeth Crist; ond Duw yn dyfod yn ddyn oedd fwy na hwynt oll. Y pryd hwnw y ganwyd y person mwyaf a fu erioed ac a fydd byth.

IV. Yn nesaf sylwer, ar *amgylchiadau rhyfeddol* cnawdoliaeth Crist. Ganwyd ef o wyryf dduwiol a sanctaidd; eithr tlawd, fel yr ymddengys oddiwrth offrwm ei phuredigaeth. Luc 2. 24. "Ac i roddi aberth, yn ol yr hyn a ddywedwyd yn neddf yr Arglwydd, Pâr o durturod, neu ddau gyw colomen." Yr hyn sydd yn cyfeirio at Lef. 5. 7: "Ond os ei law ni chyrhaedd werth oen, dyged ddwy durtur, neu ddau gyw colomen." Ac yr oedd y wyryf dlawd hon wedi ei dyweddïo i ŵr, yr hwn hefyd nid oedd ond tlawd. Er eu bod ill dau o deulu breninol Dafydd, yr hwn ydoedd y mwyaf anrhydeddus, ac mai Ioseph oedd etifedd cyfreithlon y goron; eto yr oedd y teulu wedi eu dwyn i sefyllfa hynod o isel; yr hyn a arddangosir trwy gwymp pabell Dafydd. Amos 9. 11. "Y dydd hwnw y codaf babell Dafydd yr hon a syrthiodd, ac a gauaf ei bylchau, ac a godaf ei hadwyau, ac a'i hadeiladaf fel yn y dyddiau gynt."

Ganwyd ef yn nhref Bethlehem, fel y rhagddywedesid, (Mich. 5. 2;) a rhagluniaeth hynod o ryfeddol o eiddo Duw oedd i ddwyn oddiamgylch gyflawniad y brophwydoliaeth hon, sef trethiad yr holl fyd gan Augustus Cæsar. Luc ii.

Ganwyd ef mewn cyflwr hynod o isel, mewn ystabl, a dodwyd ef yn y preseb.

V. Sylwer ar *gydfynedyddion y dygwyddiad mawr hwn.*

1. *Dychweliad yr Ysbryd:* yr hyn yn wir a ddechreuodd ychydig cyn hyn, ond eto a roddasid ar achlysur ei enedigaeth ef. Sylwais o'r blaen fel y darfu i ysbryd prophwydoliaeth ballu yn fuan wedi amser Malachi. Ac oddeutu yr un amser y gweledigaethau a'r datguddiedigaethau digyfrwng a ballasant hefyd. Ond ar yr achlysur hwn y maent yn cael eu caniatâu o'r newydd, ac y mae yr Ysbryd yn y gweithrediadau hyn yn dychwelyd drachefn. Y datguddiad cyntaf o'i adferiad yw gweledigaeth Zecharias, tad Ioan Fedyddiwr. Luc i. Y nesaf yw y weledigaeth a gafodd Mair Forwyn. Y trydydd, y weledigaeth a gafodd Ioseph. Mat. i. Yna rhoddwyd yr Ysbryd i Elizabeth. Luc 1. 41. Yn nesaf, rhoddwyd ef i Mair, fel yr ymddengys oddiwrth ei chân. Luc 1. 46. Yna i Zacharias drachefn. Adn. 67. Yna anfonwyd ef at y bugeiliaid. Luc 2. 9. Yna rhoddwyd ef i Simeon. Luc 2. 25. Yna i Anna. Adn. 36. Yna i'r doethion yn y dwyrain. Yna i Ioseph drachefn, i'w gyfarwyddo i ffoi i'r Aifft; ac wedi hyny i'w gyfarwyddo i ddychwelyd yn ol.

2 Y cydfynedydd nesaf i gnawdoliaeth Crist, yw y *sylw mawr a wnaed o hono yn y nefoedd ac ar y ddaear.* Pa fath sylw a wnaed o hono gan breswylwyr gogoneddus y wlad nefol, a ymddengys oddiwrth eu caniadau gorhoenus ar yr achlysur, y rhai a glybuwyd gan y bugeiliaid yn y nos. Hwn oedd y dygwyddiad rhagluniaethol mwyaf a welodd yr angelion erioed. Yr ydym yn darllen iddynt ganu a moliannu pan welsant sylfaenu y ddaear. Iob 38. 7. "Pan gydganodd ser y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw." Ac felly y gwnaethant yn awr, ar yr achlysur mwy o lawer hwn, sef genedigaeth Mab Duw, yr hwn yw Creawdwr y byd.

Yr oedd yr angelion gogoneddus o hyd yn dysgwyl y dygwyddiad hwn. Yr oeddynt wedi cymeryd sylw mawr

o'r prophwydoliaethau a'r addewidion am y pethau hyn; canys dywedir i ni eu bod yn chwennych edrych i orchwylion y prynedigaeth. 1 Pedr 1. 12. Yr oeddynt wedi bod yn weinidogion i Grist yn y gwaith hwn, yn ei holl amrywiol gamrau, o gwymp dyn hyd hyn; megys yn ymddygiadau Duw tuag at Abraham, Iacob, a'r Israeliaid. A diamheu eu bod o hyd yn gorfoleddus ddysgwyl dyfodiad Crist; ond yn awr gwelsant ei gyflawnu, ac am hyny llawenychasant yn fawr, a chanasant foliant ar yr achlysur.

Cymerwyd sylw o hono gan Elizabeth a Mair Wyryf cyn genedigaeth Crist, heb son am Ioan Fedyddiwr, yr hwn cyn ei eni, ar lais cyfarchiad Mair, a lamodd o lawenydd yn nghroth ei fam. Elizabeth a Mair a gydfoliannasant Dduw, gyda'r gorfoledd mwyaf, pan gyfarfuasant—un o gylch dyfod yn fam i Grist a'r llall i'w ragredegwr—y ddwy yn llawn o'r Ysbryd Glan. Ac wedi hyny, y fath sylw gorfoleddus a gymerwyd o hyn gan y bugeiliaid, a chan y personau sanctaidd hyny, Zacharias, Simeon, ac Anna! Fel yr oeddynt yn clodfori Duw ar yr achlysur! Ac fel hyn y mae eglwys Dduw, yn y nefoedd ac ar y ddaear, yn cyduno mewn gorfoledd a moliant.

Cymerodd rhan fawr o'r greadigaeth sylw gorfoleddus o gnawdoliaeth Crist. Mae y nefoedd yn cymeryd sylw o hono, a'r trigolion yn gorfoleddu o lawenydd. Mae y byd isod hwn—Iuddewon a Chenedloedd—yn cymeryd sylw o hono. Rhyngodd bodd i Dduw ddodi gogoniant ar ei Fab trwy gynhyrfu yn rhyfeddol rai o'r doethion cenedlig i ddyfod hir daith i'w weled ac i'w addoli pan y ganwyd ef. Cawsant eu harwain gan seren wyrthiol, yr hon oedd yn arwyddo genedigaeth y person gogoneddus hwnw yr hwn yw y Seren Foreu eglur, yr hon a aeth o'u blaen, ac a'u harweiniodd i'r lle yr oedd y mab bychan. Meddylia rhai iddynt gael eu cyfarwyddo gan brophwydoliaeth Balaam, yr hwn oedd yn preswylio yn y parthau dwyreiniol, ac a ragfynegodd ddyfodiad Crist fel seren a gyfodai o Iacob. Neu gallasent gael eu cynhyrfu trwy y dysgwyliad cyffredinol am

ddyfodiad y Messiah oddeutu y pryd hwn, oddiwrth y prophwydoliaethau oedd gan yr Iuddewon am dano yn eu gwasgariad yn mhob parth o'r byd.

3. Y cydfynedydd nesaf i enedigaeth Crist oedd ei enwaediad. Ond mwy priodol fydd son am hyn dan ben arall.

4. Amgylchiad arall oedd ei ddyfodiad ef i'r ail deml, pan yn faban, ar achlysur puredigaeth y forwyn fendigaid. Yr ydym yn darllen yn Hag. 2. 7: "A dymuniant yr holl genedloedd a ddaw: llanwaf hefyd y tŷ hwn (neu y deml) â gogoniant." Ac yn Mal. 3. 1: "Ac yn ddisymwth y daw yr Arglwydd, yr hwn yr ydych chwi yn ei geisio, i'w deml; sef Angel y cyfammod." A dyma y tro cyntaf y cyflawnwyd y prophwydoliaethau hyn.

5. Y cydfynedydd diweddaf y crybwyllaf am dano, yw *ymadawiad y deyrnwïalen o Iudah*, trwy farwolaeth Herod Fawr. Nid oedd y deyrnwïalen wedi ymadael yn hollol o Iudah erioed hyd yn awr. Yr oedd gwrthgiliad y deg llwyth yn nyddiau Ieroboam, wedi bod yn gwtogiad mawr i deyrnwïalen Iudah; ac ymadawsai y deyrnwïalen o Israel neu Ephraim yn amser caethgludiad y deg llwyth gan Salmanesser: ond arosodd yn llwyth Iudah dan y breninoedd oeddynt o dŷ Dafydd. A phan gludwyd llwythau Iudah a Beniamin i gaethiwed gan Nebuchodonosor, ymadawodd teyrnwïalen Iudah dros ennyd fechan, sef hyd y dychweliad o'r caethiwed dan Cyrus; ac yna, er nad oeddynt yn llywodraeth annibynol, fel yr oeddynt gynt, ond yn ddyledwyr o'u ffyddlondeb i freninoedd Persia; eto yr oedd eu llywodraethwr o honynt hwy eu hunain, gan yr hwn yr oedd awdurdod ar einioes ac angeu; ac yr oeddynt hefyd yn cael eu llywodraethu â'u cyfreithiau eu hunain; ac felly yr oedd gan Iudah "ddeddfroddwr oddirhwng ei draed" yn ystod unbenaethau Persia a Groeg. Tua 'r rhan olaf o rwysg yr unbenaeth Roegaidd, bu y bobl yn cael eu llywodraethu gan freninoedd o'r eiddynt eu hunain, o hiliogaeth y Maccabeaid, am yn agos i gan mlynedd; ac wedi hyny darostyngwyd hwy gan y Rhufeiniaid. Ond goddefodd y

Rhufeiniaid iddynt gael eu llywodraethu â'u cyfreithiau eu hunain, a brenin o'r eiddynt eu hunain, Herod Fawr, yr hwn a deyrnasodd oddeutu deugain mlynedd, ac a lywodraethodd âg awdurdod freninol, trwy dalu teyrnged i'r Rhufeiniaid. Ond yn fuan wedi genedigaeth Crist, bu farw Herod, fel y mae genym hanes yn Mat. 2. 19; a dilynwyd ef gan Archelaus; ond efe yn fuan a ddiorseddwyd gan yr ymherawdwr Rhufeinig; ac yna y deyrnwïalen a ymadawodd o Iudah. Ni bu wedi hyn freninoedd tymhorol mwyach yn Iudah, ac ni chafodd y bobl o hyny allan eu llywodraethwyr o'u plith eu hunain; ond rheolid hwy gan raglaw Rhufeinig a anfonid i'w mysg. O herwydd hyny y dywedai yr Iuddewon wrth Pilat, "Nid cyfreithlon i ni ladd neb." Ioan 18. 31. Fel hyn y deyrnwïalen a ymadawodd o Iudah pan ddaeth y Siloh.

---

## PEN. II.

### *Pwrcas y Prynedigaeth.*

Wedi sylwi fel hyn i Grist ddyfod i'r byd, a chymeryd arno ein natur ni, er gosod ei hun mewn sefyllfa i bwrcasu ein prynedigaeth, yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos beth a feddylir wrth *bwrcasu* prynedigaeth; i wneyd rhai *sylwadau* cyffredinol mewn perthynas i'r pethau hyny trwy y rhai y gwnaed y pwrcasiad hwn; ac yna i ystyried *yn fwy neillduol y pethau a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist*, trwy ba rai y gwnaed y pwrcasiad hwn.

#### I. *Y Pwrcas ei hun.*

Meddylir dau beth wrth bwrcasu prynedigaeth gan Grist, ei *foddlonrwydd*, a'i *haeddiant*. Mae y cyfan yn cael ei

wneuthur trwy y pris y mae Crist yn ei osod i lawr, yr hyn sydd yn gwneyd dau beth: mae yn talu ein dyled, ac felly yn *boddloni:* trwy ei werth hanfodol, a thrwy yr ammod rhwng y Tad a'r Mab, y mae yn dwyn i'n meddiant hawl i ddedwyddwch, ac felly yn *haeddu. Boddlonrwydd* Crist sydd i'n rhyddhau ni oddiwrth *drueni*, a *haeddiant* Crist sydd i bwrcasu *dedwyddwch* i ni.

Cymerir y gair *pwrcas*, yn y cysylltiad yma, naill ai yn fwy cyfyng neu fwy ëang. Arferir ef yn fynych mewn ystyr gyfyng i arwyddocâu yn unig haeddiant Crist, ac weithiau yn fwy ëang, i arwyddocâu ei foddlonrwydd a'i haeddiant. Yn wir y mae i'r rhan fwyaf o'r geiriau a ddefnyddir mewn perthynas i'r prynedigaeth, amrywiol ystyriaethau. Rhai duwinyddion a ddefnyddiant y gair *haeddiant* i osod allan yr holl bridwerth a offrymwyd gan Grist, yn foddlonawl cystal a gwir haeddiannawl. Ac fel hyn y gair *boddlonrwydd* a ddefnyddir weithiau, nid yn unig am ei ddyhuddiant, ond hefyd am ei ufudd-dod haeddiannol. Canys, ar ryw ystyriaeth, nid yn unig dyoddef y gosp, ond cyflawn ufuddhau, sydd ofynol i foddloni y gyfraith. Ymddengys mai y rheswm am ddefnyddio y geiriau yn y gwahanol ddulliau hyn yw, am nad yw boddlonrwydd a haeddiant yn gwahaniaethu cymaint yn wirioneddol ag ydynt yn berthynasol. Mae y ddau yn cynnwys taliad gwerthfawr, taliad o werth anfeidrol: ond gelwir y taliad hwn, fel y mae yn golygu dyled i gael ei thalu, yn *foddlonrwydd;* ac fel y mae yn golygu y daioni sydd i'w ennill, gelwir ef yn *haeddiant.* Mae y gwahaniaeth rhwng talu dyled a gwneyd pwrcasiad, yn fwy perthynol na hanfodol. Mae yr hwn sydd yn gosod pridwerth i lawr i dalu dyled, mewn rhyw ystyr, yn gwneyd pwrcasiad; y mae yn pwrcasu rhyddhâd oddiwrth y rhwymedigaeth. Ac y mae yr hwn sydd yn dodi pridwerth i lawr i bwrcasu da, megys yn rhoddi boddlonrwydd; y mae yn boddloni gofynion ammodol yr hwn y mae yn talu iddo. Gall hyn fod yn ddigonol i ddangos beth a feddylir wrth bwrcas Crist.

II. *Sylwadau cyffredinol mewn perthynas i'r pethau hyny y gwnaed y Pwrcas trwyddynt.*

1. Ac yma sylwer, pa beth bynag oedd yn Nghrist o natur *boddloni*, ydoedd felly trwy rinwedd ei *ddyoddefiadau* neu ei ymddarostyngiad; ond beth bynag oedd o natur ryglyddawl, oedd felly trwy rinwedd ei *ufudd-dod* neu ei gyfiawnder. Y mae boddlonrwydd Crist yn gynnwysedig yn ei waith yn ateb gofynion y ddeddf ar ddyn, yr hyn oedd i *ganlyn* trosеddiad y ddeddf. Atebwyd y rhai hyn trwy *ddyoddef* cosp y gyfraith. Y mae haeddiant Crist yn gynnwysedig yn yr hyn a wnaeth i ateb ei gofynion, yr hyn oedd *flaenorol* i droseddiad y ddeddf gan ddyn, neu i gyflawni yr hyn yr oedd y gyfraith yn ei ofyn cyn i ddyn bechu, yr hyn oedd *ufudd-dod.*

Y mae boddlonrwydd neu ddyhuddiant Crist yn gynnwysedig naill ai yn ei waith yn *dyoddef* poen, neu yn ei rwymau i *ymddarostyngiad.* Fe roddodd Crist foddlonrwydd, nid yn unig trwy ddyoddefaint priodol, ond trwy ba beth bynag oedd o natur isel a gwael yn amgylchiadol. Rhoddodd foddlonrwydd fel hyn trwy barhau dan awdurdod marwolaeth tra yn gorwedd yn gladdedig yn y bedd; er nad oedd ei gorff na 'i enaid yn dyoddef yn briodol wedi iddo farw. Yr oedd pa beth bynag yr ydoedd Crist yn ddarostyngedig iddo ag oedd o ffrwyth farnol pechod, o natur cymodi am bechod. Ond nid dyoddefaint priodol yn unig, ond pob darostyngiad ac iselder yn ei sefyllfa a'i amgylchiadau islaw ei anrhydedd a'i urddas cyntefig, megys arosiad ei gorff dan awdurdod marwolaeth, arosiad ei gorff a'i enaid ar wahân, &c., ydynt ffrwythau barnol pechod. Ac yr oedd pob peth a wnaeth Crist yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, ag oedd o natur ufudd-dod, rhinwedd moesol, neu ddaioni, a natur haeddiant ynddo, ac yr oedd yn rhan o'r pridwerth â'r hwn y pwrcasodd efe ddedwyddwch i'r gwaredigion.

2. Yr oedd y boddlonrwydd a roddodd Crist dros bechod,

ac hefyd y dedwyddwch a deilyngodd efe trwy ei gyfiawnder, yn cael eu cario yn mlaen trwy *holl amser* ei ddarostyngiad. Nid trwy ddyoddefiadau diweddaf Crist yn unig, er mai trwyddynt hwy yn benaf, yr oedd y boddlonrwydd a wnaeth Crist dros bechod; ond yr oedd ei holl ddyoddefiadau, a'i holl iselder, o eiliad cyntaf ei gnawdoliaeth i'w adgyfodiad, yn gymodawl neu foddlonawl. Yr oedd boddlonrwydd Crist yn benaf trwy ei farwolaeth, o herwydd mai yn hyny yn fwyaf yr oedd ei ddyoddefiadau a'i ymddarostyngiad. Ond yr oedd ei holl ddyoddefiadau ereill, a'i holl iselderau ereill, o hyd o natur ryglyddawl: amgylchiadau isel ei enedigaeth: ei eni o forwyn dlawd, mewn ystabl, a'i ddodi yn y preseb; ei waith yn cymeryd arno y natur ddynol yn ei chyflwr isel, ac yn dyfod yn ddarostyngedig i'r gwendidau a ddygwyd arni trwy y cwymp; ei eni yn ffurf cnawd pechadurus, &c. Ac felly holl ddyoddefiadau ei fabandod a'i blentyndod, yr holl ludded, dirmyg, diystyrwch, profedigaethau, a rhwystrau o unrhyw fath a ddyoddefodd trwy holl ystod ei fywyd, oeddynt o natur foddlonawl a chymodawl. Felly hefyd yr oedd ei waith yn pwrcasu dedwyddwch trwy ei gyfiawnder yn cael ei gario yn mlaen trwy holl amser ei ddarostyngiad hyd ei adgyfodiad: nid yn unig yn yr ufudd-dod a wnaeth trwy ystod ei fywyd, eithr hefyd yn yr ufudd-dod a wnaeth trwy ddodi ei einioes i lawr.

3. Trwy yr *un pethau* y boddlonodd Crist gyfiawnder Duw, ac y pwrcasodd hefyd ddedwyddwch tragywyddol. Nid oedd efe yn gwneyd cymod trwy rai pethau, ac yna yn gweithio allan gyfiawnder trwy bethau ereill; ond yn yr *un gweithredoedd* yr oedd efe yn gweithio allan gyfiawnder, ac yn gwneyd cymod hefyd, eithr yn unig eu cymeryd mewn gwahanol berthynasau. Yr oedd yr un a'r unrhyw weithred o eiddo Crist, a'u hystyried gyda golwg ar ei ufudd-dod, yn rhan o'i gyfiawnder, ac yn pwrcasu y nefoedd: ond a'u hystyried gyda golwg ar ei hunan-ymwadiad, yr anhawsder, a'r iselder, trwy ba rai y cyflawnodd hwynt, yr oeddynt o natur foddlonawl am bechod, ac yn dwyn maddeuant i ni. Fel hyn

yr oedd ei fynediad oddiamgylch i wneyd daioni. pregethu yr efengyl, a dysgu ei ddysgyblion, yn rhan o'i gyfiawnder, ac o bwrcasiad y nefoedd, gan ei fod yn gwneyd hyny mewn ufudd-dod i'w Dad; ac yr oedd yr unrhyw yn rhan o'i gymod, gan iddo eu gweithio trwy lafur, helbul, a lludded blin, a than brofedigaethau mawrion, gan roddi ei hun yn agored i waradwydd a dirmyg. Felly yr oedd ei waith yn dodi ei einioes i lawr, a'i ystyried fel yn dwyn cospedigaeth yn ein lle ni, o natur ddyhuddawl, ac yn boddloni cyfiawnder tramgwyddedig Duw: ond a'i ystyried fel gweithred o ufudd-dod i Dduw, yr hwn a roddasai iddo orchymyn i osod ei einioes i lawr dros bechaduriaid, yr oedd yn rhan o'i gyfiawnder a'i bwrcas, a chymaint yn rhan benaf o'i gyfiawnder ag ydoedd yn brif ran o'i foddlonrwydd. Er enghraifft, yr oedd yr hyn a ddyoddefodd yn ei enwaediad, o natur gymodawl: yr oedd y gwaed a dywalltwyd y pryd hwnw yn waed dyhuddawl; ond fel yr oedd yn gydffurfiad â deddf Moses, yr oedd yn rhan o'i gyfiawnder rhyglyddawl. Er nad oedd yn briodol yn weithred o eiddo ei natur ddynol, gan nad oedd ef ond baban; eto gan mai y natur ddynol oedd yn ddarostyngedig i hyny, a chan ei bod yn weithred o eiddo ei *berson* ef, fe'i derbyniwyd megys gweithred o'i ufudd-dod ef, fel ein Cyfryngwr ni. Ac yr oedd hyd yn nod ei eni yn y fath gyflwr isel, o natur foddlonawl o herwydd yr ymddarostyngiad oedd ynddo; ac o gyfiawnder, fel ag yr oedd yn weithred o eiddo ei *berson* mewn ufudd-dod i'r Tad, yn yr hyn yr oedd ewyllys y natur ddynol yn cydsynied, er na buasai un weithred o eiddo ewyllys y natur ddynol yn flaenorol iddi.

III. *Am y pethau hyny yn neillduol trwy ba rai y gwnaed y Prynedigaeth; sef Ufudd-dod a Chyfiawnder Crist.*

Af rhagof yn awr i ystyried y pethau hyny a gymerasant le yn ystod amser darostyngiad Crist, ac yn gyntaf, mewn perthynas i'w *ufudd-dod a'i gyfiawnder.* Ac y mae hyn

yn ddarostyngedig i dri dosparthiad. Gan hyny ystyriaf ei ufudd-dod gyda golwg ar y *cyfreithiau* yr ufuddhäodd iddynt—y *gwahanol ranau o'i oes* yn mha rai y cyflawnodd yr ufudd-dod hwnw—a'r *rhinweddau a arferodd* yn ei ufudd-dod.

1. Y dosparthiad cyntaf o weithredoedd cyfiawnder Crist sydd mewn perthynas i'r *cyfreithiau yr ufuddhäodd efe iddynt.* Ond yma cawn sylwi yn gyffredinol, y gellir crynoi yr holl reolau yr ufuddhäodd Crist iddynt i un ddeddf, yr hon a eilw yr apostol yn *ddeddf gweithredoedd.* Rhuf 3. 27. Gellir crynoi pob gorchymyn yr ufuddhäodd Crist iddo i'r un ddeddf fawr a thragywyddol hono o eiddo Duw a gynnwysir yn y cyfammod gweithredoedd, y rhëol dragywyddol hono o gyfiawnder a sefydlodd Duw rhyngddo ef ei hun a dynolryw. Daeth Crist i'r byd i gwblhau ac ateb gofynion y cyfammod gweithredoedd, hyny yw, y cyfammod sydd i barhau yn dragywydd fel rheol barn. Y cyfammod a droseddwyd genym ni, oedd y cyfammod yr oedd yn rhaid ei gyflawnu.

Yn wir y mae y ddeddf hon o weithredoedd yn cynnwys yr holl ddeddfau o eiddo Duw a roddwyd erioed i ddynolryw; canys rheol gyffredinol y ddeddf o weithredoedd, ac yn wir deddf natur hefyd, yw, ufuddhau i Dduw, ac ymostwng i bob rheol a welo efe yn dda ei rhoddi. Rheol y ddeddf o weithredoedd yw, fod i ddynion ufuddhau i'w rhïeni *daearol;* ac y mae yn ddiddadl, yn gymaint o reol yr un ddeddf, fod i ni ufuddhau i'n Tad *nefol*; ac felly y mae y ddeddf o weithredoedd yn gofyn ufudd-dod i holl orchymynion gosodedig Duw. Yr oedd yn gofyn ufudd-dod Adda i'r gorchymyn gosodedig hwnw, ymattal rhag bwyta o'r ffrwyth gwaharddedig; ac yr oedd yn gofyn ufudd-dod yr Iuddewon i'r holl orchymynion gosodedig a berthynent i'w sefydliadau. Pan orchymynodd Duw i Ionah gyfodi a myned i Ninefeh, yr oedd y ddeddf o weithredoedd yn gofyn iddo ufuddhau; ac felly yr oedd yn gofyn ufudd-dod Crist i'r holl orchymynion gosodedig a roddasai Duw iddo.

Ond, yn fwy neillduol, *y gorchymynion dwyfol yr ufuddhäodd Crist iddynt*, oeddynt dri math; yr oeddynt yn gyfryw ag yr oedd efe yn ddarostyngedig iddynt, naill ai *fel dyn* yn unig, neu, fel yr oedd yn *Iuddew*, neu megys yr oedd yn berffaith *Gyfryngwr*.

1. Efe a ufuddhäodd i'r gorchymynion hyny i ba rai yr oedd efe yn ddeiliad yn unig fel *dyn*. Y rhai hyn oeddynt orchymynion y ddeddf foesol, yr hon oedd yr un â hono a roddwyd ar fynydd Sinai, wedi ei hysgrifenu ar ddwy o lechau cérig, y rhai ydynt rwymedig ar ddynolryw o bob cenedl, ac yn mhob oes o'r byd.

2. Ufuddhäodd i'r holl ddeddfau yr oedd yn ddeiliad iddynt fel *Iuddew*. Fel hyn yr oedd yn ddeiliad i'r ddeddf seremonïol, ac wedi ei gydffurfio â hi. Cydffurfiwyd ef â hi yn ei enwaediad pan yn wyth niwrnod oed; ac yr oedd yn rhoddi ufudd dod manwl iddi wrth fyned i fyny i Ierusalem i'r deml dair gwaith yn y flwyddyn: o'r hyn lleiaf wedi ei ddyfod yn ddeuddeng mlwydd oed, yr hyn ymddengys ydoedd oed y gwrrywiaid pan ddechreuent fyned i fyny i'r deml. Ac felly yr oedd Crist yn dilyn y gwasanaeth yn y deml a'r synagogau yn wastadol.

Dan y pen hwn o'i ufudd-dod. gellir cymeryd i mewn ei ymostyngiad i fedydd Ioan. Canys yr oedd yn orchymyn pendant i'r Iuddewon fyned allan at Ioan Fedyddiwr, a chymeryd eu bedyddio ganddo; gan hyny, pan ddaeth yr Iesu at Ioan i gael ei fedyddio, ac y gwarafunodd Ioan iddo, gan ddywedyd mai mwy anghenreidiol oedd iddo ef ddyfod i gael ei fedyddio gan Grist, mae yntau yn rhoddi y rheswm hwn dros hyny, sef, mai gweddus oedd iddo ef "gyflawni pob cyfiawnder." Mat. 3. 13—15.

3. Yr oedd Crist yn ddeiliad i'r *ddeddf gyfryngol;* neu y ddeddf oedd yn perthyn yn unig i'w swydd fel Cyfryngwr. Y cyfryw oeddynt y gorchymynion a dderbyniasai gan y Tad i ddysgu y cyfryw athrawiaethau, i bregethu yr efengyl, i gyflawnu y cyfryw wyrthiau, i alw y cyfryw ddysgyblion, i sefydlu y cyfryw ordinhadau, ac, yn ddiweddaf, i osod ei

einioes i lawr: canys efe a wnaeth yr holl bethau hyn mewn ufudd-dod i'r gorchymynion a dderbyniasai gan y Tad, fel y mae yn adrodd i ni yn fynych. Ioan 10. 18; 14. 31. Nid ydoedd yn ddarostyngedig i'r gorchymynion hyn yn unig fel dyn; canys nid oeddynt yn perthyn i ddynion ereill: ac nid ydoedd yn ddeiliad iddynt chwaith megys Iuddew; canys nid oeddynt yn un rhan o'r gyfraith Fosenaidd: ond yr oeddynt yn orchymynion a dderbyniasai efe gan y Tad, ac yn perthyn yn unig i'w swydd gyfryngol.

Yr oedd cyfiawnder Crist, trwy yr hyn yr oedd ef ei hun yn teilyngu y nefoedd, cystal a phawb a gredant ynddo, yn gynnwysedig yn benaf yn ei ufudd-dod i'r ddeddf gyfryngol; canys yr oedd ei brif waith a'i orchwyl yn y byd yn gynnwysedig yn nghyflawniad y ddeddf hon. Mae y rhan fwyaf o'r hanesyddiaeth efengylaidd yn cael ei gymeryd i fyny i roddi cyfrif o'i ufudd-dod i'r ddeddf hon. Yr oedd y rhan yma o'i ufudd-dod yn cael ei dilyn â'r rhwystrau mwyaf; ac am hyny ei ufudd-dod yn hyn oedd y mwyaf haeddiannol. Yr hyn yr oedd Crist i'w wneyd yn y byd fel Cyfryngwr, ydoedd anfeidrol fwy anhawdd na 'r hyn oedd ganddo i'w wneyd yn unig fel dyn neu megys Iuddew. I'w ufudd-dod i'r ddeddf gyfryngol hon y perthyn ei fynediad trwy ei ddyoddefiadau diweddaf, yr hyn sydd yn dechreu gyda 'i ing yn yr ardd, ac yn diweddu gyda 'i adgyfodiad.

Fel yr oedd ufudd-dod yr Adda cyntaf, yn yr hyn y buasai ei gyfiawnder yn gynnwysedig, pe buasai yn sefyll, i fod yn gynnwysedig yn benaf yn ei ufudd-dod i'r ddeddf arbenig hono, i'r hon yr oedd yn ddeiliad fel pen moesol a meichnïydd dynolryw, hyd yn nod y gorchymyn o ymgadw oddiwrth bren gwybodaeth da a drwg; felly yr oedd ufudd-dod yr Ail Adda, yn yr hyn yr oedd ei gyfiawnder yn gynnwysedig, yn gorphwys yn benaf yn ei ufudd-dod i'r ddeddf arbenig hono, i'r hon yr oedd yn ddeiliad fel Cyfryngwr a meichnïydd dros ddyn.

Cyn myned yn mlaen at y dosparthiad nesaf o gyfiawn-

der Crist, sylwaf ar dri pheth sydd yn dwyn perthynas â'i ufudd-dod i'r deddfau hyn.

1. Yr oedd ei ufudd-dod iddynt ar bob golygiad yn *berffaith.* Yr oedd yn berffaith gyda golwg ar y *gwaith* gorchymynedig, a'r *egwyddor* oddiar ba un yr oedd yn ufuddhau. Yr oedd yn berffaith gyda golwg ar ei *ddybenion* wrth weithredu; nid oedd ganddo byth un gau-ddyben, ond amcanai yn ffyddlon at y cyfryw fel yr oedd cyfraith Duw yn gofyn. Yr oedd yn berffaith gyda golwg ar y *dull* o weithredu; yr oedd pob amgylchiad yn mhob gweithred yn perffaith gydffurfio â'r gorchymyn. Yr oedd yn berffaith gyda golwg ar *radd* y gweithrediad; yr oedd yn gweithredu yn gywir wrth y rheol. Yr oedd yn berffaith gyda golwg ar *ddianwadalwch* ufudd-dod, heb ddim attaliadau; a chyda golwg ar *barhad.* Efe a ddaliodd allan yn berffaith ufudd hyd ei eiliad olaf, yn yr holl gyfnewidiadau yr aeth trwyddynt, a'r holl brofedigaethau oedd o'i flaen.

Yr oedd teilyngdod ufudd-dod Crist yn ymddibynu ar ei berffeithrwydd. Pe buasai yn ddiffygiol mewn un pwngc, nis gallasai fod yn rhyglyddawl; canys ni chymeradwyir ufudd-dod anmherffaith fel un math o ufudd-dod yn ngolwg y ddeddf o weithredoedd, i'r hon yr oedd Crist yn ddeiliad. Ni chymeradwya y gyfraith ufudd-dod nad yw yn cyfateb iddi yn gyflawn.

2. Yr oedd ufudd-dod Crist yn cael ei gyflawnu trwy y treialon a'r profedigaethau mwyaf. Yr oedd y rhwystrau cryfaf, a'r iselder mwyaf yn cydfyned â'i ufudd-dod ef; yr hyn oedd yn beth arall a'i gwnelai yn fwy rhyglyddawl a dyiolchdeilwng. Nid yw ufuddhau i arall pan y mae ei orchymynion yn esmwyth, mór ryglyddawl, ag ydyw ufuddhau iddynt pan y mae llawer o anhawsdra yn y ffordd i'w cyflawni.

3. Efe a gyflawnodd yr ufudd-dod hwn gyda *pharch anfeidrol i Dduw, ac anrhydedd i'w gyfraith.* Cyflawnodd ei ufudd-dod gyda chariad anfeidrol fwy tuag at Dduw, a pharch i'w awdurdod, na'r eiddo yr angelion. Mae yr angelion yn cyflawnu eu hufudd-dod â chariad perffaith, gyda pherffeith-

rwydd dibechod; ond cyflawnodd Crist yr eiddo ef â chariad anfeidrol. Er nad oedd natur ddynol Crist yn meddu y gallu i garu yn hollol anfeidrol, eto y mae ufudd-dod Crist yn y natur hono, yn ufudd-dod ei berson fel Duw-ddyn; ac am hyny yr oedd cariad anfeidrol yn cael ei amlygu yn yr ufudd-dod hwnw. Ac yr oedd hyn, yn nghydag urddas anfeidrol y person a ufuddhäodd, yn gwneyd ei ufudd-dod yn anfeidrol ryglyddawl.

II. Mae yr ail ddosparthiad yn ngweithredoedd ufudd dod Crist, yn perthyn i'r *gwahanol ranau o'i fywyd*, yn mha rai y cyflawnwyd hwynt. Ac yn yr ystyr yma, gellir eu dosparthu i'r rhai hyny a gyflawnwyd ganddo yn ei fywyd annghyoedd, a'r rhai a gyflawnodd yn ei weinidogaeth gyhoeddus.

1. Y gweithredoedd a gyflawnodd yn ystod ei *fywyd annghyoedd.* Yr oedd efe yn berffaith ufudd yn ei febyd. Yr oedd ef yn gwahaniaethu yn anfeidrol oddiwrth blant ereill, y rhai, mór fuan ag y dechreuont weithredu, ydynt yn dechreu pechu a gwrthryfela. Yr oedd ef yn ostyngedig i'w rïaint daearol, er ei fod yn Arglwydd pawb. Luc 2. 51. A chafwyd ef gyda gorchwylion ei Dad pan nad oedd ond plentyn. Luc 2. 42. Efe a ddechreuodd gyflawnu y ddeddf gyfryngol, yr hon a roddasai y Tad iddo, y pryd hwnw. Efe a barhäodd yn ei fywyd anghyhoedd tua deng mlynedd ar hugain, gan breswylio yn Nazareth, yn nhŷ Ioseph, ei dad cyfrifedig, lle y gwasanaethodd Dduw mewn sefyllfa anghyhoedd, gan ddilyn crefft, sef gwaith saer.

2. Y gweithredoedd a gyflawnodd yn ystod ei *weinidogaeth gyhoeddus*, y rhai a ddechreuasant pan ydoedd ef tua deng mlwydd ar hugain oed, ac a barhasant am y tair blynedd a hanner diweddaf o'i oes. Mae yr holl hanesyddiaeth efengylaidd bron yn cael ei gymeryd i fyny i roddi cyfrif o'r hyn a gymerodd le yn ystod yr amser hwn; yr oll yn wir o hanesyddiaeth Matthew, oddyeithr y ddwy bennod gyntaf; yr oll o Marc a Ioan, a'r oll o Luc, oddyeithr y ddwy bennod

gyntaf; oddyeithr yr hyn hefyd a ganfyddwn yn yr efengylwr mewn perthynas i weinidogaeth Ioan Fedyddiwr. Ymddangosiad cyntaf Crist yn ei weinidogaeth gyhoeddus, yw yr hyn a elwir yn fynych yn yr ysgrythyr ei *ddyfodiad.* Fel hyn y mae Ioan yn llefaru am ddyfodiad Crist fel peth i gymeryd lle, er ei fod ef wedi ei eni yn mhell cyn hyny.

Mewn perthynas i weinidogaeth gyhoeddus Crist, sylwaf ar y pethau canlynol:

1. *Rhagredegwr* Crist yn ei ddyfodiad i'w weinidogaeth gyhoeddus oedd Ioan Fedyddiwr. Efe a ddaeth gan bregethu edifeirwch er maddeuant pechodau, i barotoi y ffordd i ddyfodiad Crist, yn unol â'r prophwydoliaethau am dano. Esa. 40. 3—5, a Mat. 3. 5, 6. Tybir i Ioan Fedyddiwr ddechreu ei weinidogaeth tua thair blynedd a hanner o flaen Crist; felly yr oedd gweinidogaethau Ioan a Christ yn nghyd yn gwneyd i fyny saith mlynedd, yr hon oedd y ddiweddaf o wythnosau Daniel. Dan. 9. 27. "Ac efe a sicrhâ y cyfammod â llawer dros un wythnos." Daeth Crist yn nghanol yr wythnos hon, fel y rhagfynegodd Daniel: "Ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio."

Yr oedd gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr wedi ei bwriadu i ddeffroi ac argyhoeddi dynion o'u pechodau, i'w parotoi erbyn dyfodiad Crist, ac i'w cysuro. Dilynwyd gweinidogaeth Ioan â thaenelliad nodedig o Ysbryd Duw; a'r effaith o hyny oedd i "Ierusalem, a holl Iudea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen, fyned allan ato, i gael eu bedyddio ganddo yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau." Ioan oedd y mwyaf o'r holl brophwydi a ddaethant o flaen Crist. Luc 7. 28. "Yn mhlith plant gwragedd, ni chododd neb mwy na Ioan Fedyddiwr;" hyny yw, efe a gafodd y swydd fwyaf anrhydeddus. Yr oedd Ioan yn gyffelyb i'r seren foreu, yr hon sydd yn rhagflaenori dynesiad y dydd, ac yn rhagredegydd i godiad haul. Ser yn goleuo yn y nos oedd y prophwydi ereill; ond fe ddiffoddodd y ser hyny ar ddynesiad dydd yr efengyl. Gan fod dyfodiad Crist yn awr yn bur agos,

mae y seren foreu yn dyfod o'i flaen ef, yr hon yw y ddysgleiriaf o'r holl ser, fel yr oedd Ioan Fedyddiwr, yn yr ystyr a soniwyd, y mwyaf o'r holl brophwydi. A phan y daeth Crist yn ei weinidogaeth gyhoeddus, goleuni y seren forëol hon a leihäodd hefyd; fel yr ydym yn gweled, pan y mae yr haul yn codi, oleuni y seren foreu yn diflanu o'i flaen. Felly y dywed Ioan Fedyddiwr am dano ei hun, (Ioan 3. 30,) "Rhaid yw iddo ef gynyddu, ac i minau leihau." Ac yn fuan wedi i Grist ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus, rhoddwyd Ioan Fedyddiwr i farwolaeth; yn gyffelyb i'r seren foreu, yr hon sydd weledig am enyd fechan wedi codiad haul, ond yn fuan yn diflanu.

2. Dechreuad gweinidogaeth gyhoeddus Crist oedd trwy ei *fedydd*, yr hyn a ddilynwyd â'r brofedigaeth yn yr anialwch. Ei fedydd oedd, fel pe buasai, yr urddiad difrifol, trwy yr hyn yr anturiodd ar ei weinidogaeth; ac a ganlynwyd â'i eneinniad ef â'r Ysbryd Glan mewn modd difrifol a gweledig, yr Ysbryd Glan yn disgyn arno mewn dull gweledig fel colomen, yr hyn a ddilynwyd gan lef o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Mat. 3. 16, 17. Wedi hyn efe a arweiniwyd gan y diafol i'r anialwch. Gwnaeth Satan ymosodiad ffyrnig arno pan ddechreuodd gyntaf ar ei waith; ac efe a gafodd brawf nodedig o'i ufudd-dod ef; ond efe a gafodd y fuddugoliaeth. Yr hwn a gafodd y fath lwyddiant gyda'r Adda cyntaf, ni chafodd ddim gyda'r Ail.

3. Y *gwaith* oedd gan Grist i'w wneyd yn ystod ei weinidogaeth. Ac yma y mae *tri* pheth yn benaf i sylwi arnynt, sef, ei waith yn pregethu, yn gwneyd gwyrthiau, ac yn galw a dewis dysgyblion a gweinidogion ei deyrnas.

(1.) Ei waith yn *pregethu* yr efengyl. Yr oedd rhan fawr o waith ei weinidogaeth gyhoeddus yn gynnwysedig yn hyn; ac yr oedd llawer o'r ufudd-dod trwy yr hyn y pwrcasodd efe iachawdwriaeth i ni, yn ei waith yn llefaru y pethau a orchymynasai y Tad iddo. Efe a ddatguddiodd feddwl ac ewyllys Duw yn fwy eglur a helaeth nac y gwnelsid erioed

cyn hyny. Yr oedd ef wedi dyfod o fynwes y Tad, yn gwybod ei feddwl yn berffaith, ac yn y sefyllfa oreu i'w ddatguddio. Fel yr haul, yr hwn, mór fuan ag y cyfyd, sydd yn dechreu tywynu, felly Crist, mór fuan ag y daeth i'w weinidogaeth gyhoeddus, a ddechreuodd oleuo y byd â'i athrawiaeth. Fel y rhoddwyd y gyfraith oddiar fynydd Sinai, felly y traddododd Crist ei athrawiaeth efengylaidd (yn llawn bendithion ac nid melldithion) i luaws ar fynydd. Mat. v.—vii.

Pan y pregethai ef, nid oedd yn dysgu fel yr ysgrifenyddion, ond fel un ag awdurdod ganddo; fel yr oedd ei wrandawyr yn rhyfeddu wrth ei athrawiaeth. Nid oedd yn datguddio meddwl ac ewyllys Duw yr un dull a'r prophwydi, megys, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd;" ond yn y fath ddull a hyn, "Yr wyf fi yn dywedyd i chwi," "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi." Traddodai ei athrawiaethau nid yn unig fel athrawiaethau Duw y Tad, ond megys yr eiddo ei hun. Yr oedd yn rhoddi ei orchymynion allan, nid yn unig (fel yr arferai y prophwydi wneyd) megys gorchymynion Duw, ond fel yr eiddo ei hun. "Dyma *fy ngorchymyn i.*" Ioan 15. 12. "Chwychwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynag *yr wyf fi yn eu gorchymyn* i chwi." Adn. 14.

(2.) Peth arall a gyflawnid gan Grist yn ystod ei weinidogaeth, oedd *gwyrthiau.* Mewn perthynas i hyn cawn sylwi ar amrywiol bethau:

Eu *lluosogrwydd.* Heblaw enghraifftiau neillduol, y mae genym hanes am dorfeydd o gleifion yn dyfod ar unwaith ato, ac yntau yn eu hiachau yn y fán.

Yr oeddynt yn *weithredoedd o drugaredd.* Nid ei allu a'i fawredd anfeidrol yn unig oedd yn cael eu harddangos ynddynt, eithr hefyd ei drugaredd a'i ddaioni anfeidrol. Yr oedd ef yn myned oddiamgylch gan wneyd daioni, iachau y cleifion, adferu golwg i'r deillion, clyw i fyddariaid, a defnydd priodol eu haelodau i'r cloffion a'r gwywedigion;

porthi y newynog, glanhau y gwahanglwyfus ac adgyfodi y meirw.

Yr oeddynt agos oll yn *gyfryw ag y lleferir am danynt* yn yr Hen Destament *fel gweithredoedd perthynol i Dduw*, megys gostegu tónau y môr, (Salm 107. 29:) "Efe a wna yr ystorm yn dawel; a'i thónau a ostegant;" rhodio ar y môr yn y dymhestl, (Iob 9. 8,) "Yr hwn yn unig—sydd yn sathru ar dónau y môr;" a bwrw allan gythreuliaid, (Salm 74. 14,) "Ti a ddrylliaist ben lefiathan." Porthi lluaws mewn anialwch, (Deut. 8. 16,) "Yr hwn a'th fwydodd di yn yr anialwch â manna;" dywedyd meddwl dyn, (Amos 4. 13,) "Yr hwn a fynega i ddyn beth yw ei feddwl —yr Arglwydd, Duw y lluoedd yw ei enw;" cyfodi y meirw, (Salm 68. 20,) "Ac i'r Arglwydd Dduw y perthyn diangfâu rhag marwolaeth;" agor llygaid y deillion, (Salm 146. 8,) "Yr Arglwydd sydd yn agor llygaid y deillion;" iachâu y cleifion, (Salm 103. 3,) "Yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd;" a chodi y rhai a ddarostyngwyd, (Salm 146. 8,) "Yr Arglwydd sydd yn codi y rhai a ddarostyngwyd."

Yr oeddynt yn gyffredinol yn gyfryw weithredoedd ag a *ddarlunient y gwaith mawr y daeth efe i'w weithredu ar galon dyn;* yn arddangos y glanhad ysbrydol, yr iachâd, yr adnewyddiad, a'r adgyfodiad tu mewnol hyny, o'r hyn y mae ei holl waredigion yn ddeiliaid.

*Yr oedd yn eu gwneyd trwy ei allu ei hun, ac nid fel y prophwydi ereill.* Yr oeddynt hwy yn arfer gwneyd eu holl wyrthiau yn enw yr Arglwydd; ond yr oedd Crist yn eu gwneuthur yn ei enw ei hun. Gwaharddwyd i Moses anturio i Ganaan, o herwydd iddo ymddangos yn ei ymadrodd megys i gymeryd arno ei hun yr anrhydedd o wneuthur un wyrth. Nid oedd Crist chwaith yn gwneyd gwyrthiau fel yr *apostolion;* ond trwy ei awdurdod a'i ewyllys ei hun. Fel hyn y dywedai ef, "Yr *wyf yn ewyllysio;* bydd lân." Mat. 8. 3. Ac yn yr un dull y gofynai y cwestiwn hwn:

"A ydych chwi yn credu y gallaf fi wneuthur hyn?" Mat. 9. 28.

(3.) Peth arall a wnaeth Crist yn ystod ei weinidogaeth, oedd *galw ei ddysgyblion.* Efe a alwodd lawer o ddysgyblion, y rhai a gynnelid ganddo fel gweinidogion. Anfonodd ddeg a thriugain at ei waith yr un pryd: ond yr oedd deuddeg wedi eu neillduo ganddo i fod fel apostolion, y rhai oeddynt brif weinidogion ei deyrnas, ac, fel pe b'ai, deuddeg seil-faen ei eglwys. Dat. 21. 14. Y rhai hyn oeddynt y prif offerynau yn ngosodiad ei deyrnas i fyny yn y byd, ac am hyny y cânt eistedd ar ddeuddeg gorseddfaingc, i farnu deuddeg llwyth Israel.

4. Sylwaf ar y modd y *gorphenodd* ei weinidogaeth. A hyn a fu yn rhoddiad ei *gynghorion* cyn marw i'w ddysgyblion, a phawb a ewyllysient fod yn ddilynwyr iddo, yr hyn sydd genym wedi ei gofrestru yn ofalus yn y 14eg, y 15fed a'r 16eg bennod o Ioan; yn sefydliad y *coffadwriaeth* difrifol am ei angau, sef swper yr Arglwydd, trwy yr hyn yr arddangosir drylliad ei gorff a thywalltiad ei waed; yn yr *offrymiad* a wnaeth o hono ei hun fel Archoffeiriad, yn aberth difai i Dduw, yn ei ddyoddefiadau diweddaf. Gwnaeth y weithred hon fel gweinidog Duw, megys offeiriad eneinniedig Duw; a hon oedd y weithred benaf o'i weinidogaeth gyhoeddus, a'r weithred benaf o'i ufudd-dod. Trwy hon y prynodd nefoedd i'r credinwyr. Arferai offeiriaid yr hen amser wneyd llawer o bethau fel gweinidogion Duw; ond offrymu ebyrth ar yr allor oedd y weithred benaf yn nghyflawniad eu swydd. Felly, y peth penaf a wnaeth Crist yn nghyflawniad ei swydd offeiriadol, a'r peth penaf a wnaeth ef erioed, ac a wnaethpwyd erioed, oedd offrymu ei hun yn aberth i Dduw. Yr ydoedd yn hyn yn wrthgysgod o'r cwbl a wnaethpwyd gan yr holl offeiriaid, yn eu holl aberthau a'u hoffrymau, o ddechreuad y byd.

III. Mae y trydydd dosparthiad o'r gweithredoedd, y pwrcasodd Crist brynedigaeth trwyddynt, yn perthyn i'r *rhinweddau a arferodd ac a amlygodd efe* ynddynt, y rhai oedd-

ynt yn cynnwys pob rhinwedd a gras dichonadwy. Yn wir y mae rhyw rinweddau y gall dyn pechadurus feddu arnynt, y rhai nid oeddynt yn Nghrist; nid o herwydd unrhyw ddiffyg rhinwedd, ond o herwydd bod ei rinwedd ef yn berffaith, ac yn ddiddiffyg. Y cyfryw yw y rhinwedd o edifeirwch, drylliad calon am bechod, marweiddiad ac ymwadiad â thrachwant. Nid oedd yn Nghrist un pechod o'i eiddo ei hun i edifarhau o'i blegyd, nac unrhyw drachwant i ymwadu âg ef. Ond yr oedd pob rhinwedd nad ydyw yn rhagdybied pechod ynddo ef i radd mwy cyflawn nac mewn un crëadur. Yr oedd pob rhinwedd ynddo ef yn berffaith. Yr oedd rhinwedd ei hun yn fwy cyflawn ynddo ef nac yn neb arall; ac yr oedd dan fwy o fanteision i ddysgleirio ynddo ef nac yn neb arall. Pan y'i profir fwyaf y mae gwir rinwedd yn ymddysgleirio fwyaf: ond ni chafodd un rinwedd erioed y fath brawfiadau a'r eiddo Crist.

Gellir rhanu y rhinweddau a arferodd Crist yn ei waith i dri dosparth; y rhai oeddynt yn fwyaf uniongyrchol yn perthyn i *Dduw*, y rhai oeddynt yn perthyn *iddo ef ei hun*, a'r rhai hyny oeddynt yn perthyn i *ddynion*.

1. *Y rhinweddau hyny ydynt yn fwyaf uniongyrchol yn perthyn i Dduw.* Yr oedd *ofn* a *pharch* sanctaidd yn ymddangos ynddo tuag at Dduw y Tad. Cafodd Crist fwy o brawf ar ei rinwedd gyda golwg ar hyn nac a gafodd neb arall, o herwydd anrhydeddusrwydd ei berson. Dyma y brofedigaeth a wnaeth i'r angelion a syrthiasant fwrw ymaith addoliad Duw a pharch ei fawredd, sef eu bod hwy yn gyfryw fodau o urddas dyrchafedig eu hunain. Ond yr oedd Crist yn anfeidrol fwy teilwng a gogoneddus na hwy; canys yr oedd ef yn dragywyddol Fab Duw, a'i berson yn ogyfuwch a pherson y Tad; ac eto, fel yr oedd wedi cymeryd arno swydd Cyfryngwr, a natur dyn, yr oedd yn llawn o barch tuag at Dduw. Efe a amlygodd *gariad* rhyfeddol tuag at Dduw. Y mae yr angelion yn rhoddi tystiolaeth gref o'u cariad tuag at Dduw, yn eu dianwad-

alwch a'u cyflymdra i wneuthur ei ewyllys ef; ac fe roddodd llawer o'r seintiau dystiolaethau cryfion o'u cariad at Dduw, trwy ludded blin a dyoddefiadau poenus; ond ni roddodd un o honynt erioed y fath dystiolaethau o'u cariad tuag at Dduw ag a roddodd Crist. Efe a amlygodd yr *ymostyngiad* mwyaf rhyfeddol i ewyllys Duw. Ni phrofwyd ymostyngiad neb erioed fel yr eiddo ef. Ac yr oedd ysbryd *ufudd-dod* yn cael ei amlygu ynddo yn rhyfeddol iawn.

2. Yn y gwaith hwn yr amlygodd Crist yn hynod iawn y *rhinweddau hyny a berthynent yn fwyaf uniongyrchol iddo ef ei hun;* megys gostyngeiddrwydd, amynedd, a diystyrwch at y byd. Yr oedd Crist, er ei fod y mwyaf ardderchog ac anrhydeddus, eto yn *ostyngeiddiaf* o'r holl grëaduriaid. Ni fu un angel na dyn erioed yn gyfartal iddo mewn gostyngeiddrwydd, er ei fod yr uchaf mewn urddas ac anrhydedd. Buasai Crist dan y profedigaethau mwyaf i ymfalchïo, pe buasai yn bosibl i unrhyw beth ei ddenu at hyny. Urddasolrwydd eu natur, ac anrhydeddusrwydd eu hamgylchiadau, oedd profedigaeth yr angelion a syrthiasant; ond yr oedd Crist yn anfeidrol fwy anrhydeddus na hwy. Yr oedd natur ddynol Crist wedi ei hanrhydeddu fel ag i fod yn yr un person â thragywyddol Fab Duw, yr hwn oedd yn gydradd â Duw; ac eto ni ddarfu i'r natur hono mewn un modd ymddyrchafu mewn balchder. Ac ni ddarfu i'r dyn Crist Iesu, yn yr holl weithredoedd rhyfeddol a wnaeth, megys iachâu y cleifion, meddyginiaethu y deillion, y cloffion, a'r anafusion, a chyfodi y meirw, mewn un modd ymgodi a balchïo. Ac er ei fod yn hysbys i Dduw ei neillduo ef i fod yn Frenin ar nefoedd a daear, angelion a dynion, fel y mae yn dywedyd, (Mat. 11. 27,) "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad;" er y gwyddai ei fod yn gyfryw berson anfeidrol anrhydeddus, ac "heb feddwl yn drais iddo fod yn ogyfuwch a Duw;" ac er y gwyddai ei fod yn etifedd i deyrnas y Tad, eto yr oedd ei ostyngeiddrwydd y fath fel na ddiystyrodd gymeryd ei waelu a'i ddarostwng i iselach

a gwaeth amgylchiadau a dyoddefiedau, nac un crëadur etholedig arall; fel y daeth yn lleiaf o bawb, ac yn iselaf o bawb. Y prawf a'r amlygiad priodol o ostyngeiddrwydd ydyw, ymostwng neu gydsynied, pan y gelwir am hyny, â gorchwylion hynod o isel, yn cynnwys gwaeledd mawr. Ond nid ymostyngodd neb erioed mór isel a Christ, os ystyriwn yr uchder anfeidrol y daeth o hono, neu ddyfnder mawr ei ddarostyngiad. Y fath oedd ei ostyngeiddrwydd, fel, (er y gwyddai ei fod yn teilyngu cael ei anrhydeddu ddeng mil o weithiau cymaint a'r tywysog uchaf ar y ddaear, neu angel yn y nef,) na thybiodd yn ormod iddo, pan y galwyd arno i hyny, gymeryd ei rwymo fel drwg-weithredwr, a dyfod yn watwar-gerdd i'r rhai gwaelaf o ddynion, cymeryd ei goroni â drain, ei wisgo â gwawdwisg, a'i groeshoelio fel caethwas neu ddrwg-weithredwr, megys yr adyn gwaelaf, neu y crwydryn gwaethaf, a gelyn ysgymunedig Duw a dynion, yr hwn nid oedd yn addas i fyw. A hyn, nid drosto ei hun, eithr dros rai o'r crëaduriaid gwaelaf a gwaethaf, ïe, hyd yn nod dros rai o'r trueiniaid ysgymunedig a'i hoeliasant ef wrth y groes. Onid oedd hyn yn amlygrwydd rhyfeddol o'i ostyngeiddrwydd, gan iddo yn siriol ac ewyllysgar ymostwng i'r fath iselder? Yr oedd ei *amynedd* yn nodedig dan yr holl ddyoddefiadau arwsydus yr aeth trwyddynt; pan yr ydoedd yn fud ac heb agoryd ei enau, ond yn cael ei arwain fel oen i'r lladdfa! Y fath *ddiystyrwch* o ogoniant y byd oedd yno, pan ddewisodd ef y gwaeledd a'r dyoddefiadau hyn, yn hytrach na chymeryd ei wisgo â gogoniant allanol tywysog daearol, fel yr oedd y lluaws wedi ceisio ganddo yn fynych.

3. Arferodd Crist, mewn dull rhyfeddol, y *rhinweddau oeddynt yn perthyn yn fwy uniongyrchol i ddynion ereill.* A gellir ystyried y rhai hyn dan ddau ben: llarieidd-dra a chariad.

*Llarieidd-dra* Crist oedd y tawelwch gostyngedig oedd yn ei ysbryd dan y profedigaethau y cyfarfu â hwy. Y mae mawredd profedigaeth yn gorphwys mewn dau beth: sef,

gradd y gwrthwynebiad trwy yr hyn y rhoddir y brofedigaeth; a gradd afresymolrwydd y gwrthwynebiad, neu ei fod yn ddiachos, neu heb rheswm, a'r gradd mawr o ddyledgarwch i'r gwrthwyneb. Yn awr, os ystyriwn y ddau beth hyn, ni chyfarfu neb erioed â'r fath brofedigaethau a Christ pan oedd ar y ddaear. Cymaint oedd y casineb tuag ato; y fath enllib a oddefodd oddiwrth y dynion gwaelaf; mór fawr oedd ei ddyoddefiadau, ac mór genfigenus a gwawdlyd oeddynt pan yn cynyg yr enllibiau hyn iddo! Mór ddiachos ac afresymol oedd eu cam-ymddygiadau hyn, ac mór anhaeddiannol oedd ef o honynt, ïe, cymaint yr ydoedd, i'r gwrthwyneb, yn teilyngu cariad ac anrhydedd, a thriniaeth dda oddiar eu dwylaw. Os ystyriwn y pethau hyn, ni chyfarfu dyn erioed â'r filfed ran o'r profedigaethau y cyfarfu Crist â hwynt oddiwrth ddynion; ac eto mór llariaidd yr ymddygodd danynt oll! mór dawel a heddychol oedd ei ysbryd! mór bell oddiwrth fod yn gyffröus a therfysglyd! Pan ddifenwyd ef, ni ddifenwodd drachefn; ond fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai, felly nid agorai yntau ei enau. Nid oedd ysbryd ymddialgar yn ymddangos ynddo; i'r gwrthwyneb, efe a ddangosodd ysbryd tra maddeugar! fel y gweddïodd yn daer a serchiadol am faddeuant i'w elynion, pan yr oeddynt wrth y weithred fwyaf cyffrous, ei hoelio wrth y groes. Luc 23. 34. "O Dad, maddeu iddynt: canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur."

Ac nid ymddangosodd erioed y fath enghraifft o *gariad* tuag at ddynion. Yr oedd cariad Crist at ddynion, yn enwedig pan ydoedd yn myned trwy ei ddyoddefiadau diweddaf, ac yn offrymu i fyny ei fywyd a'i enaid dan y dyoddefiadau hyny, yr hon oedd y weithred benaf o'i gariad, yn mhell tu hwnt i gydmariaeth. Rhoddodd rhai o'r saint, megys Paul, yr apostol Ioan, ac ereill, amlygiadau hynod o'u cariad; ond yr oedd y cariad a ddangosodd Crist tuag at ddynion pan ydoedd ar y ddaear, yn rhagori cymaint ar gariad pawb ereill, ag y mae y cefnfor llydan yn rhagori ar ffrwd fechan.

Ac y mae i'w ystyried, fod yr holl rinweddau a ymddangosasant yn Nghrist yn pelydru yn fwy dysglaer dan y profedigaethau y cyfarfu â hwynt yn niwedd ei fywyd. Yn y tân y mae y rhinwedd odidog bob amser yn ymddangos ddysgleiriaf. Yn y ffwrn y dengys yr aur pur fwyaf o'i burdeb. Dan y profedigaethau hyn a ddyoddefodd Crist yn niwedd ei oes, yr oedd ei gariad at Dduw, ei anrhydedd i fawredd Duw, ei barch i anrhydeddusrwydd ei gyfraith, ei ysbryd ufuddgar, ei ostyngeiddrwydd, ei ddiystyrwch o'r byd, ei amynedd, ei larieidd-dra, a'i ysbryd maddeugar tuag at ddynion, yn ymddangos amlycaf. Yn wir, y mae pob peth a wnaeth Crist i weithio allan brynedigaeth i ni yn ymddangos yn benaf yn niwedd ei fywyd. Yma yn benaf y mae ei foddlonrwydd am bechod, ac yma yn benaf y mae ei deilyngdod o fywyd tragywyddol i bechaduriaid, ac yma hefyd y mae dysgleirdeb ei esiampl, yr hon a adawodd efe i ni i'w hefelychu, yn ymddangos fwyaf. Sylwasom fel hyn yn fyr ar y pethau trwy ba rai y gwnaed pwrcas y prynedigaeth, gyda golwg ar y *cyfiawnder* a ddangosodd efe ynddynt.

### IV. *Dyoddefiadau a Darostyngiad Crist.*

Yn mhlith y pethau hyny yn neillduol trwy ba rai y gwnaed y pwrcas, rhaid i ni ystyried y *dyoddefiadau a'r iselder* yr oedd Crist yn ddarostyngedig iddynt, oddiar yr hyn y tarddodd y boddlonrwydd a wnaeth efe am bechod.

I. Yr oedd ef yn ddarostyngedig i iselder anghyffredin yn ei *fabandod.* Efe a anwyd i'r dyben o farw; gan hyny, yr oedd yn dechreu marw megys mór fuan ag y ganwyd ef. Dyoddefodd ei fam nid yn unig wrth ei ymddwyn ef, eithr dywedir "nad oedd lle yn y lletty" pan gyflawnwyd ei thymp i esgor. Luc 1. 57; 2. 7. Bu orfod iddi ymneillduo i ystabl, lle y ganwyd Crist. Fel hyn y dyoddefodd yn ei enedigaeth, fel pe buasai yn waelach a gwaeth na dyn. A gallwn ddyfod i'r penderfyniad fod amgylchiadau ei fam mór gyf-

yng a dyrys gyda golwg ar bethau ereill, a'i bod yn amddifad o'r cyfleusderau, anghenreidiol i faban mór ieuangc, yr oedd ereill yn arferol o'u cael. Heblaw hyn, yr oedd yn cael ei erlid yn ei fabandod. Dechreuasant geisio ei fywyd mór fuan ag y ganwyd ef. Yr oedd Herod, y gwr mwyaf yn y wlad, wedi rhoddi ei fryd gymaint ar ei ladd, fel y darfu iddo, mewn trefn i hyny, ladd yr holl fechgyn oedd yn Methlehem, ac yn ei holl gyffiniau, o ddwy flwydd oed a than hyny. Dyoddefodd Crist hefyd alltudiaeth yn ei fabandod, dëolwyd ef o'i wlad gynnwynol i'r Aifft, a dyoddefodd lawer yn ddiamheu trwy gael ei gludo gan belled o ffordd, i wlad ddyeithr, pan ydoedd mór ieuangc.

II. Yr oedd Crist yn ddarostyngedig i iselder mawr yn ystod ei *fywyd anghyoedd* yn Nazareth. Arweiniodd tra y bu yno fywyd gwasaidd a distadl, gan ddilyn galwedigaeth wael a llafurus; canys gelwir ef nid yn unig *mab y saer*, ond y *saer*. Marc 6. 3. "Onid hwn yw y saer, mab Mair, brawd Iago, a Ioses, a Iudas, a Simon?" Trwy lafur caled yr ennillodd ef ei fara, ac felly yr oedd yn dyoddef y felldith a gyhoeddodd Duw ar Adda. Gen. 3. 19. "Trwy chwys dy wyneb y bwytei fara." Bydded i ni ystyried y fath iselder mawr yr oedd gogoneddus Fab Duw, Creawdwr y nefoedd a'r ddaear, yn ddarostyngedig iddo trwy hyn, sef iddo am tua deng mlynedd ar hugain arwain bywyd cyffredin ac anghyoedd yn mhlith gweithwyr, heb i fwy o sylw gael ei gymeryd o hono, na mwy o barch gael ei ddangos iddo, yr holl amser hwn, nac i weithwyr ereill. Yr oedd ymddarostyngiad Crist, ar ryw olygiadau, yn fwy yn ei fywyd anghyoedd nac yn amser ei weinidogaeth gyhoeddus. Yr oedd amlygiadau mynych o'i ogoniant yn y gair a lefarai, a'r gwyrthiau a wnelai: ond efe a dreuliodd y deng mlynedd ar hugain cyntaf o'i fywyd mewn dystawrwydd megys yn mysg y werin. Nid oedd dim i'w hynodi ond purdeb difrycheulyd a sancteiddrwydd ardderchog ei fywyd; ac yr oedd hyny yn cael ei guddio i fesur hel-

aeth mewn distadlrwydd, fel na chymerwyd ond ychydig sylw o hono hyd ar ol ei fedydd.

III. Yr oedd Crist yn ddarostyngedig i iselder a dyoddefaint mawr yn ystod ei *fywyd cyhoeddus*, o'i fedydd hyd y nos y bradychwyd ef.

1. Dyoddefodd *dlodi* mawr. Nid oedd ganddo le i *roddi ei ben* i lawr. Mat. 8. 20. Ioan 18. 1, 2. Luc 21. 37; 22. 39. Felly cafodd yr hyn a ddywedir am Grist yn Can. 5. 2, "Llanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â defnynau y nos," ei gyflawni yn llythyrenol. A thrwy ei dlodi, mae yn ddiau iddo gael ei brofi â newyn, syched ac oerfel yn fynych. Mat. 4. 2; 21. 18. Yr oedd ei fam a'i berthynasau naturiol yn dlodion, ac yn analluog i'w gynorthwyo; ac yr oedd yn cael ei gynnal â haelioni rhai o'i ddysgyblion tra y bu byw. Felly yr ydym yn darllen yn Luc 8. 2, 3, am ryw wragedd yn ei ganlyn ef, ac yn gweinyddu iddo o'r hyn oedd ganddynt. Yr ydoedd gán dloted fel nad oedd yn alluog i dalu y dreth a ofynid ganddo heb wyrth. Mat. 17. 27. Pan fwytäodd ei basg diweddaf, nid oedd yn ei wneyd ar ei gost ei hun, ond ar draul un arall. Luc 22. 7. Ac nid oedd o herwydd ei dlodi yn meddu bedd o'i eiddo ei hun i'w gladdu ynddo. Yr oedd yn arferiad yn mhlith yr Iuddewon, oddyeithr eu bod yn rhy dlodion, i ddarparu beddrod iddynt eu hunain yn ystod eu bywyd. Ond nid oedd gan Grist dir o'i eiddo ei hun, er ei fod yn Feddiannydd nefoedd a daear; gan hyny efe a gladdwyd trwy haelioni Ioseph o Arimathea, yn ei fedd ef, yr hwn a ddarparasai iddo ei hun.

2. Dyoddefodd gasineb a *gwaradwydd* mawr. Efe a ddiystyrwyd ac a wrthodwyd gan ddynion; yr oedd yn un o ychydig gyfrif, ac yn cael ei ddirmygu oherwydd tlodi ei rïeni, a'i ddinas wael Nazareth. Edliwid iddo ei fod yn lwth, yn feddwyn, ac yn gyfaill publicanod a phechaduriaid; gelwid ef yn dwyllwr y bobl; ac weithiau gelwid ef yn ddyn gorphwyllog, yn Samariad, ac yn un a chythraul ganddo. Ioan 7. 20; 8. 48; 10. 20. Gelwid ef yn gablwr, a chyfrifid

ef gan lawer yn frudiwr, neu un yn gwneuthur gwyrthiau trwy gyfrinach â Beelzebub. Ysgymunasant ef, a chytunasant i ysgymuno pwy bynag a'i haddefai ef. Ioan 9. 22. Yr oeddynt yn awyddus am ei farwolaeth, ac yn ceisio ei lofruddio ef yn barhaus—weithiau trwy orthrech, a phrydiau ereill trwy ddichellion; codasant gérig i'w labyddio ef yn fynych, ac arweiniasant ef unwaith i ael bryn, gan fwriadu ei daflu ef i lawr y dibyn, i'w ddryllio yn chwilfriw yn erbyn y creigiau. Luc 4. 29.

Fel hyn yr oedd ei bobl weledig ei hun yn ei gasâu ac yn ei waradwyddo ef. Ioan 1. 11. "At yr eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant ef." Ac yr oedd yn cael ei ddïystyru a'i gasâu yn benaf gan y rhai a ystyrid yn fwyaf cyfrifol, a'r gwyr mawrion. Yn wir yr oedd y casineb yn gyffredinol. I ba ran bynag o'r wlad yr elai, yr ydoedd yn cyfarfod â chasineb a diystyrwch; yn Nghapernaum, a Iericho; yn Ierusalem, yr hon oedd y ddinas sanctaidd, ïe, hyd yn nod pan elai i fyny i'r deml i addoli; yn Nazareth hefyd, ei ddinas ei hun, yn mhlith ei berthynasau a'i gymydogion ei hunan.

3. Efe a ddyoddefodd ymosodiadau Satan mewn dull anghyffredin. Unwaith yn neillduol bu ymdrechfa faith rhyngddo a'r diafol, pan y bu ddeugain niwrnod yn yr anialwch gyda bwystfilod gwylltion a chythreuliaid; ac yr oedd mór agored i awdurdod y diafol, fel yr oedd yn cael ei gario o amgylch o le i le ganddo, pan yr ydoedd ar ystyriaeth arall mewn sefyllfa ddyoddefus iawn.

IV. Yr wyf yn awr yn dyfod at ei *ymddarostyngiad a'i ddyoddefiadau* diweddaf, o'r nos y bradychwyd ef hyd ei adgyfodiad. Ac yma yr oedd ei ddarostyngiad a'i ddyoddefaint fwyaf, trwy yr hyn yn benaf y gwnaeth foddlonrwydd i gyfiawnder Duw dros bechodau dynion. Yn gyntaf, gwerthwyd ei fywyd gan un o'i ddysgyblion am ddeg darn ar hugain o arian; yr hyn oedd bris bywyd caethwas. Exod. 21. 32. Yr ydoedd y pryd hwnw yn y loes frawychus yn yr ardd. Gorchuddiwyd ei enaid sanctaidd gan y fath brudd-der

erchyll, nes y dechreuodd fod yn hynod o athrist a gofidus, fel y dywedodd, *Trist iawn yw fy enaid hyd angau*, ac *yr oedd yn flin iawn arno.* Mór angerddol oedd ing ei enaid, fel yr oedd yn gyru y gwaed trwy chwysdyllau ei groen; fel, tra yr oedd ei enaid wedi ei lethu gan dristwch rhyfeddol, yr oedd ei gorff yn orchuddiedig â gwaed. Yr oedd ei ddysgyblion, y rhai a arferent fod iddo megys cyfeillion a theulu, y pryd hwn, yn fwy nac un amser, yn ymddangos wedi oeri tuag ato, ac yn ddiofal yn ei gylch, ac ar yr un pryd yr oedd gwyneb ei Dad wedi ei guddio oddiwrtho ef. Daeth Iudas, i'r hwn y buasai Crist mór hynod o drugarog, ac a'i bradychodd ef yn y dull mwyaf twyllodrus ac ysgeler. Y swyddogion a'r sawdwyr a'i daliasant ac a'i rhwymasant ef; ei ddysgyblion a'i gadawsant ef, ac a ffoisant ymaith. Nid yw ei gyfeillion goreu yn sefyll wrtho i'w gysuro yn y dymhestl arswydus sydd yn curo arno. Arweinir ef fel drwgweithredwr i wyddfod yr offeiriaid a'r ysgrifenyddion, ei elynion gwenwynig a marwol, fel y gallent hwy eistedd megys barnwyr arno. Yr oeddynt wedi ei gael yn awr i'w dwylaw, ac eisteddasant i fyny yr holl nos, er mwyn cael yr hyfrydwch o'i wawdio. Ond gan nad oeddynt yn amcanu at ddim llai na'i fywyd, ymosodasant i chwilio am ryw ffug-esgus i'w roddi i farwolaeth, ac i geisio tystion yn ei erbyn ef. Ond gan nad oedd un i'w gael, gosodasant rai i gam-dystiolaethu; a phan nad oedd eu tystiolaethau hwy yn cytuno â'u gilydd, holasant ef. gan obeithio y caent afael ar rywbeth a ddeuai allan o'i enau ei hun. Yr oeddynt yn gobeithio y byddai iddo ddywedyd ei fod yn Fab Duw, yr hyn, meddylient, a fyddai yn ddigon. Ond gan eu bod yn gweled nad oeddynt yn debyg o gyrhaedd eu hamcan yn hyn, maent yn ei dynghedu yn enw Duw, i ddywedyd a oedd ai nid oedd; a phan y cyfaddefodd ei fod, yna daeth yn amser llawenhau gyda hwy, yr hyn a ddangosir ganddynt trwy boeri yn ei wyneb, gosod hûg ar ei lygaid, ei gernodio, ac yna erchi iddo brophwydo pwy a'i tarawodd; gan ei watwar fel hyn am iddo honi ei fod yn brophwyd. Ac y mae hyd yn

nod y gweinidogion a llaw ganddynt yn y diystyrwch. Marc 14. 65. "A'r gweinidogion a'i tarawsant ef â gwïail."

Yn ystod dyoddefiadau y nos hon, darfu i Petr, un o'i brif ddysgyblion, yn lle sefyll gydag ef i'w gysuro, fel yr ymddengys, gywilyddio ei arddel', a'i wadu a'i wrthod â rhegfeydd a melldithion. Ac wedi i'r archoffeiriaid a'r henuriaid dreulio y nos i'w anmharchu mór gywilyddus, maent yn y boreu (boreu y diwrnod mwyaf hynod a fu erioed) yn ei ddwyn ef at Pilat, i'w gollfarnu ganddo ef i farwolaeth, oblegyd nid oedd ganddynt hwy awdurdod bywyd a marwolaeth yn eu dwylaw eu hunain. Mae yn cael ei ddwyn o flaen gorseddfaingc Pilat, ac yno y mae yr archoffeiriaid a'r henuriaid yn ei gyhuddo o fradwriaeth. A phan ddarfu i Pilat, wedi iddo chwilio i'r achos, ddadgan nad oedd yn cael dim bai ynddo, yr Iuddewon a ddaethant yn fwy ffyrnig a chreulon am ei gollfarnu. Ar hyn y mae Pilat, wedi iddo ei ryddhau, yn ei ddwyn yn anghyfiawn i ail brawf; ac yno, heb gael dim yn ei erbyn, y mae yn ei ollwng ymaith drachefn. Yr oedd Pilat yn ymddwyn tuag ato megys adyn tlawd ac annheilwng; ond y mae arno gywilydd ei gollfarnu megys bradwr ar y fath ffug-esgus gwael.

Ac yna cafodd ei anfon at Herod, i gael ei brofi ganddo, a dygwyd ef o flaen ei frawd-faingc ef; ei elynion yn ei ganlyn ac yn ei gyhuddo yn haerllug o fradwriaeth, neu un yn ymestyn at fod yn frenin. Nid ydyw Herod yntau yn ei gollfarnu, eithr, fel Pilat, yn edrych arno megys crëadur tlawd, gwael ac annheilwng o sylw, ac yn unig yn chwerthin am ben yr Iuddewon a'u cyhuddent fel un peryglus i Cæsar; ac am hyny, o ddirmyg, y mae yn ei wisgo mewn gwawd-wisg, yn ei ddiystyru, ac yn ei anfon yn ol at Pilat trwy heolydd Ierusalem, a'r wawd-wisg am dano.

Ac yna y mae yr Iuddewon yn dewis Barabbas o'i flaen ef, ac, ar unwaith, y maent yn ymgreuloni, ac yn llefain yn uchel ar Pilat ei groeshoelio ef. Gan hyny y mae Pilat, wedi iddo ei glirio ddwywaith, a Herod unwaith, yn hynod an-

nghyfiawn yn ei ddwyn i brawf y drydedd waith, i edrych a fedrai gael rhywbeth digonol i'w groeshoelio. Cafodd Crist ei ddiosg a'i fflangellu; fel hyn y rhoddodd ei "gefn i'r curwyr." Wedi hyn, er fod Pilat yn dal i ddadgan nad oedd yn cael ynddo ef ddim bai, er hyny yr ydoedd mór annghyfiawn, fel y darfu iddo, rhag ofn yr Iuddewon, draddodi Crist iddynt i'w groeshoelio. Ond cyn iddynt osod y ddedfryd mewn gweithrediad, mae ei elynion cenfigenus a chreulon yn cymeryd pleser i'w wawdio drachefn; maent yn tyru o'i amgylch, ac yn gwneyd gorchwyl pennodol o ymosod arno. Maent yn ei ddiosg, yn rhoddi am dano wisg o ysgarlad, corsen yn ei law, a choron o ddrain ar ei ben. Mae yr Iuddewon cystal a'r milwyr Rhufeinig yn ymuno yn y gorchwyl; maent yn penlinio o'i flaen, ac yn gwaeddi yn ddiystyrllyd, "Henffych well, brenin yr Iuddewon!" Maent hefyd yn poeri arno, yn cymeryd y gorsen o'i law, ac yn ei guro ar ei ben! Wedi hyn arweiniasant ef ymaith i'w groeshoelio; gwnaethant iddo ef ei hun gario ei groes, hyd oni ddarfu iddo, o herwydd gwendid, syrthio dani; yna gosodasant hi ar un Simon, gwr o Cyrene.

O'r diwedd, wedi dyfod i fynydd Calfaria, maent yn cyflawni y ddedfryd a gyhoeddasai Pilat mór anghyfiawn arno. Maent yn hoelio ei ddwylaw a'i draed wrth y groes, yna yn ei chodi yn unionsyth, ac yn sicrhau un pen iddi yn y ddaear, ac yntau o hyd yn crogi arni wrth nerth yr hoelion a drywanesid trwy ei ddwylaw a'i draed. Y mae dyoddefiadau Crist yn bresennol wedi dyfod i'w heithafoedd: yn awr, yr oedd y cwpan y gweddïasai mór daer ar iddo fyned heibio, wedi dyfod; rhaid oedd iddo ei yfed, ac efe a wnaeth. Croeshoeliad oedd y farwolaeth fwyaf poenydiol o un math o ddienyddiad yn y dyddiau hyny. Nid oedd y dyoddefydd yn marw cymaint oddiwrth boen yn unig trwy un math arall o farwolaeth; ac oddiwrth y dull yma o farwolaethu y mae y gair Lladin sydd yn arwyddo *poenydio* wedi ei gymeryd. Heblaw yr hyn a ddyoddefodd ein Harglwydd yn ei gorff trwy y farwolaeth arteithiol hon, yr oedd dyoddef-

aint ei enaid yn ddirfawr mwy. Yn awr yr oedd yn y "llafur enaid" yr ydym yn darllen am dano yn y prophwyd; yn awr y mynodd Duw ei ddryllio a'i gystuddio ef; yn awr y tywalltodd efe ei enaid i farwolaeth, megys yn Esa. liii. Ac os darfu i'r rhagfeddwl am y cwpan hwn wneyd iddo chwysu gwaed, pa faint mwy ofnadwy a phoenus yr oedd yn rhaid i'w yfed fod! Dyoddefodd amryw o'r merthyron lawer yn eu cyrff, tra yr oedd eu heneidiau yn orfoleddus, ac yn canu o lawenydd, yr hyn, dan ddyoddefiadau eu dyn allanol, oedd yn eu cynnal i fuddugoliaethu arnynt. Ond nid felly yr oedd gyda Christ; nid oedd ganddo ef y fath beth i'w gynnal; eithr dyoddefiadau mwyaf Crist oedd dyoddefiadau ei feddwl, er fod yr eiddo ei gorff yn ddirfawr. Ni ddarfu Crist chwysu gwaed ar y groes, fel y gwnaethai yn flaenorol; nid am nad oedd ei gyfyngder cymaint yn awr, ond yr oedd ei waed yn cael agorfa ffordd arall. Ond er na ddarfu iddo chwysu gwaed, eto yr oedd dyoddefiadau ei enaid yn gyfryw, fel y mae yn debygol iddynt rwygo ei ranau bywydawl; pan drywanwyd ef yn ei ystlys, yna y daeth allan ddwfr a gwaed. Ac felly wele yma fath o gyflawniad llythyrenol o Salm 22. 14. "Fel dwfr y'm tywalltwyd:—fy nghalon sydd fel cŵyr: hi a doddodd yn nghanol fy mherfedd."

Yn awr, dan yr holl ddyoddefiadau hyn, yr oedd yr Iuddewon o hyd yn ei wawdio; ac yn ysgwyd eu penau, gan ddywedyd, "Ti, yr hwn a ddinystri y deml, ac a'i hadeiledi mewn tridiau, gwared dy hun: os ti yw Mab Duw, disgyn oddiar y groes." Yr oedd hyd yn nod yr offeiriaid, yr ysgrifenyddion a'r henuriaid, yn cyduno yn y floedd, gan ddywedyd, "Ereill a waredodd efe, ac nis gall waredu ei hun." Ac y mae yn debyg fod y diafol yn ei boenydio yr un pryd hyd eithaf ei allu; ac oddiwrth hyn y dywedir, (Luc 22. 53,) "Eithr hon yw eich awr chwi, a gallu y tywyllwch."

Wedi i Grist, pan oedd dan y dyoddefiadau hyn, waeddi allan unwaith a thrachefn â llef uchel, o'r diwedd efe a

ddywedodd, GORPHENWYD, (Ioan 19. 30,) a "chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fyny yr ysbryd." Ac fel hyn y gorphenwyd y peth mwyaf a rhyfeddaf a wnaethpwyd erioed. Yn awr y gwelodd yr angelion yr olygfa ryfeddaf a welsant erioed. Yn awr y cyflawnwyd y prif beth yr oedd amrywiol osodiadau y ddeddf seremonïol, yr holl oruchwyliaethau cysgodol, a'r holl aberthau o ddechreuad y byd, yn cyfeirio ato.

Wedi i Grist fel hyn gael ei ddwyn dan awdurdod marwolaeth, arosodd yno hyd foreu y trydydd dydd. Yna y gorphenwyd y gwaith mawr, pwrcas y prynedigaeth, tuag at yr hyn yr oedd cynifer o barotöadau mawrion wedi cael eu gwneyd o ddechreuad y byd. Yna y gorphenwyd yr hyn oll oedd ofynol mewn trefn i ddyhuddo bygythion y ddeddf, a'r cwbl oedd anghenreidiol mewn trefn i foddloni cyfiawnder dwyfol; y pryd hwnw fe dalwyd gofyniad eithaf cyfiawnder amddiffynol, do yr holl ddyled. Y pryd hwn y gorphenwyd holl bwrcas bywyd tragywyddol. Ac yn awr nid yw yn anghenreidiol gwneyd un peth yn ychwaneg tuag at bwrcasu iachawdwriaeth i bechaduriaid; ni wnaed dim byth wedi hyny, ac ni wneir dim yn ychwaneg chwaith i dragywyddoldeb.

---

## PEN. III.

*Defnydd oddiwrth yr Ail Gyfnod.*

WRTH fwrw golwg ar hanes gwaith y prynedigaeth, dangosasom pa fodd y dygwyd y gwaith yn mlaen trwy y ddau flaenaf o'r tri phrif gyfnod i ba rai yr ydym wedi dosparthu holl yspaid amser, sef, o'r cwymp hyd ymuniad Crist â chnawd, ac oddiyno hyd ddiwedd amser ei ddarostyngiad. Eglurasom yn fanwl dan y blaenaf o'r cyfnodau hyn

pa fodd yr oedd Duw yn parotoi y ffordd i Grist ymddangos i bwrcasu prynedigaeth; a thán yr ail gyfnod, pa fodd y gwnaethpwyd ac y gorphenwyd y prynedigaeth. Yr wyf yn awr yn dyfod i wneyd ychydig nodiadau addysgiadol oddiwrth yr hyn a ddywedwyd ar y ddau destun uchod, a'u hystyried yn gysylltiedig.

### I. *Defnydd Argyhoeddiad.*

Argyhoeddiad o anghrediniaeth, o hunan-gyfiawnder, a diofal esgeulusdra o iachawdwriaeth Crist.

I. Cymaint y mae y pethau hyn *yn argyhoeddi y rhai nid ydynt yn credu yn, ond yn gwrthod yr Arglwydd Iesu Grist!* ïe, pawb nad ydynt yn ei dderbyn ef yn ewyllysgar. Gall pobl ei dderbyn ef mewn proffes yn allanol, a gallant ddymuno meddiannu rhai o'r bendithion a bwrcaswyd ganddo, ac eto heb ei dderbyn ef yn eu calonau. Gallant beidio bod o galon gyda dim y maent yn ei wneyd dros Grist; efallai nad ydynt yn gwneyd nemawr gyfrif o Grist, nac yn mynwesu unrhyw barch diragrith tuag ato; efallai nad agorasant erioed ddrws y galon iddo, eithr parhau i'w gau allan bob dydd er pan gynygiwyd ei iachawdwriaeth iddynt. Er iddynt agor eu calonau yn llydain i ereill, a rhoddi derbyniad rhwydd iddynt bob amser, eto y mae Crist yn cael ei gau allan yn feunyddiol, ac y maent wedi bod yn fyddar i'w holl wahoddiadau ef. Nis gallent erioed deimlo tueddfryd yn eu calon i'w dderbyn, nac i ymddiried ynddo chwaith.

Gadewch i ni yn awr alw arnoch i ystyried mór fawr yw eich pechod yn dal fel hyn i wrthod Iesu Grist. Yr ydych yn diystyru y Person gogoneddus, erbyn dyfodiad yr hwn y gwnaeth Duw gymaint o ddarpariadau mawrion trwy y fath gadwyn o ragluniaethau rhyfeddol o ddechreuad y byd a'r hwn, wedi gwneyd yr holl bethau hyn yn barod, a ddanfonodd Duw i'r byd, gan ddwyn oddiamgylch beth anadnabyddus o'r blaen, sef undeb y natur ddwyfol a'r ddynol yn yr un

person. Yr ydych wedi bod yn euog o ddiystyru y Gwaredwr mawr, yr hwn, wedi y fath ddarpariadau, a gwblhäodd y prynedigaeth yn weithredol; a'r hwn, wedi iddo dreulio tair neu bedair ar ddeg ar hugain o flynyddoedd mewn tlodi, lludded a dirmyg, yn mhwrcasiad prynedigedigaeth, o'r diwedd a orphenodd y pwrcas trwy derfynu ei fywyd dan y fath ddyoddefiadau dirboenus; ac felly trwy ei angau, a'i arosiad am amser dan awdurdod marwolaeth, a gwblhäodd y cyfan. Hwn yw y Gwaredwr yr ydych chwi yn ei wrthod ac yn ei ddirmygu. Yr ydych yn diystyru holl ogoniant ei berson, a holl gariad Duw y Tad yn ei anfon ef i'r byd, a'i holl gariad rhyfeddol ac ymddangosiadol yntau yn y gwaith hwn i gyd. Y maen gwerthfawr a osododd Duw yn Zion i fod yn sylfaen yn y fath fodd, a thrwy y fath weithrediadau rhyfeddol, yw yr un yr ydych chwi yn ei wrthod.

Y mae pechaduriaid weithiau yn barod i ryfeddu fod annghrediniaeth yn cael edrych arno fel pechod mawr; ond os ystyriwch yr hyn a ddywedwyd, pa fodd y gellwch ryfeddu? Os yw yr Iachawdwr hwn mór fawr, a'r gwaith yma mór bwysig, a'r fath bethau mawrion wedi cael eu gwneyd mewn perthynas iddo, nid oes yn wir unrhyw achos i ryfeddu fod gwrthodiad y Gwaredwr yn cyffroi digofaint Duw gymaint. Y mae yn dwyn euogrwydd mwy na phechodau gwaethaf y paganiaid sydd heb erioed glywed am y pethau hyn, ac heb gael cynyg erioed ar y Gwaredwr hwn.

II. Y mae yr hyn a ddywedwyd yn rhoddi defnydd argyhoeddiad i'r sawl y sydd, yn lle credu yn Nghrist, *yn ymddiried iddynt eu hunain am iachawdwriaeth.* Onid peth cyffredin gyda dynion ydyw cymeryd arnynt eu hunain y gwaith mawr y daeth Crist i'r byd i'w gyflawnu? ac ymddiried i'w gweddïau, y drafferth a gymerant gyda chrefydd, diwygiad eu bucheddau, a'u hunan-ymwadiad, i gymeradwyo eu hunain ger bron Duw, ac i wneyd rhyw fath o iawn am eu pechodau a aethant heibio? Bydded i'r cyfryw ystyried tri pheth:

1. Mór *fawr* ydyw y peth yr ydych chwi yn ei gymeryd arnoch eich hun, sef gwneuthur gwaith Iachawdwr mawr y y byd. Yr ydych yn ymddiried y gwna eich cyflawniadau eich hun heddychu Duw am eich pechodau, a thueddu ei galon tuag atoch. Er eich bod yn dlodion, yn annheilwng, yn ddrygionus, ac yn halogedig, eto yr ydych yn ddigon rhyfygus i gymeryd arnoch y gwaith y darfu i unig-anedig Fab Duw ddyfod yn ddyn er ei gyflawnu! ac er yr hyn y bu Duw am bedair mil o flynyddoedd yn trefnu holl oruchwyliaethau mawrion ei ragluniaeth, prif ddyben y rhai oedd parotoi y ffordd i Grist ddyfod i wneyd y gwaith hwn. Hwn yw y gwaith yr ydych chwi yn ynfyd yn tybied eich hun yn ddigonol ato; megys pe byddai eich gweddïau a'ch cyflawniadau ereill chwi yn ddigon rhagorol i'r dyben hwn. Ystyriwch mór wageddus yw y tyb yr ydych yn ei goleddu am danoch eich hun! Pa fodd yr ymddengys y fath ryfyg yn ngolwg Duw, i'r hwn y costiodd gymaint! Nid ydoedd i'w gyrhaeddyd hyd yn nod ganddo ef, yr hwn oedd berson mór fawr a gogoneddus, ar lai cost na rhydio trwy fôr o waed, a myned trwy ganol ffwrn digofaint Duw. Ac mór wageddus y rhaid i'ch rhyfyg chwi ymddangos yn ngolwg Duw, pan y mae yn eich canfod yn dychymygu eich hun yn abl, a'ch cyflawniadau annheilwng a halogedig eich hunain yn ddigon rhagorol i gyflawnu gwaith ei Fab ef ei hun, i barotoi y ffordd i'r hwn y bu Duw yn trefnu holl achosion mawrion y byd am gynnifer o oesoedd!

2. Os oes sail i chwi i hyderu, fel yr ydych, yn eich cyfiawnder eich hunain, yna y mae y cwbl a wnaeth Crist i bwrcasu iachawdwriaeth, a'r hyn oll a wnaeth Duw i barotoi y ffordd i hyny er cwymp dyn, i gyd yn *ofer*. Mae eich hunan-gyfiawnder chwi yn cyhuddo Duw o'r ynfydrwydd mwyaf, megys pe byddai wedi gwneyd pob peth yn ofer, i ddwyn oddiamgylch gyflawniad peth yr ydych chwi, â'ch gweddïau tlodion a halogedig, yn nghydag ychydig drafferth yn nghylch crefydd, yn ddigon abl i'w gwblhau eich hun-

ain. Canys os gellwch chwi ddyhuddo llidiawgrwydd Duw, a chymeradwyo eich hun iddo ef trwy y moddion hyn, yna nis rhaid i chwi wrth Grist. Gal. 2. 21. "Os o'r ddeddf y mae cyfiawnder, yna bu Crist farw yn ofer."

Os gellwch chwi wneuthur hyn trwy eich gweddiau a'ch gweithredoedd da, yna y gallasai Crist arbed ei boenau; gallasai arbed ei waed; gallasai ymgadw o fewn mynwes ei Dad, heb ddyfod i'r byd hwn, i gael ei ddiystyru a'i waradwyddo, a'i erlid i farwolaeth. Ni buasai yn anghenreidiol i Dduw achosi cymaint o gyfnewidiadau yn sefyllfa y byd am bedair mil o flynyddoedd, i ddwyn oddiamgylch yr hyn a allasech chwi wneuthur mewn ychydig ddyddiau, yn unig trwy ymdrafferthu âg ychydig ymarferiadau crefyddol. Ystyriwch, pa ffolineb mwy y gallech gyhuddo Duw o hono na 'i fod wedi gwneyd yr holl bethau hyn mór ddiddyben; pan y gallasai, yn lle hyn i gyd, eich galw chwi allan, a chyflwyno i chwi y gorchwyl yr ydych yn tybied y gellwch ei gyflawnu mór rhwydd! Och! mór ddall ydyw dynion anianol! ac yn enwedig mór wageddus yw eu tybiau am danynt eu hunain! Mór ddiwybodaeth ydynt o'u bychandra a'u halogrwydd! Y fath bethau mawrion a briodolant iddynt eu hunain!

3. Chwychwi, y rhai a ymddiriedwch i'ch hunan-gyfiawnder, ydych yn honi i chwi eich hunain y peth *mwyaf* a wnaeth Duw ei hun erioed! Yr ydych yn ymddangos nid yn unig yn ddigonol i gyflawnu gweithredoedd *dwyfol*, ond y cyfryw yw eich balchder a'ch gwagedd, fel nad ydych yn foddlon heb gymeryd arnoch eich hun wneuthur yr unig orchwyl *mwyaf* a wnaeth Duw ei hun erioed! Gwelwch oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, i Dduw osod ei holl weithredoedd ereill îslaw gwaith y prynedigaeth. Y mae gweithredoedd rhagluniaethol Duw yn fwy na'i weithredoedd crëedigol; ac y mae ei holl weithredoedd rhagluniaethol, o ddechreuad cenedlaethau dynion, yn cael eu trefnu yn rhagbarotöawl i bwrcas y prynedigaeth. Mae cymeryd arnoch eich hun weithio allan brynedigaeth yn fwy peth na

phe cymerech arnoch greu byd. Y fath orchwyl a wnelech chwi o honi, pe ceisiech o ddifrif greu byd; neu, gan ymwisgo â mawrhydi, ffug-gynyg llefaru y gair awdurdodol, a galw allan fydysawd o ddyddimdra; gan fwriadu myned rhagoch mewn trefn, a dywedyd, "Bydded goleuni! bydded ffurfafen!" &c. Ond wrth anturio i weithio allan eich prynedigaeth eich hun, yr ydych yn ymgais at *fwy* peth na hyn, ac yn *ddifrifol* ynddo, ac ni chymerwch eich gwrthannog oddiwrtho. Yr ydych yn ymorchestu at hyn, ac yn llawnfeddwl eich hun yn ddigonol iddo, ac yn dra hyderus y bydd i chwi ei gwblhau.

Yr ydych yn cymeryd arnoch wneyd y rhan fwyaf ac *anhawsaf* o'r gwaith hwn, sef pwrcasu prynedigaeth. Gallodd Crist gyflawnu rhanau ereill y gwaith hwn yn ddidraul; ond fe gostiodd y rhan hon ei fywyd iddo, cystal a llafur a gofidiau aneirif. Eto hon ydyw y rhan y mae personau hunan-gyfiawn yn myned yn nghylch ei chyflawnu iddynt eu hunain. Pe buasai holl angelion y nefoedd yn ddigonol i'r gwaith hwn, a fuasai Duw yn ymosod i effeithio y fath bethau ag a wnaeth mewn trefn iddo? ac a fuasai ef byth yn anfon ei Fab ei hun, Crëawdwr yr angelion, i'r byd, i gyflawnu a dyoddef y cyfryw bethau?

Mae yr hyn y mae personau hunan-gyfiawn yn ei gymeryd arnynt eu hunain, yr un peth ag a wnaeth Crist pan yr oedd yn ei ing a'i chwys gwaedlyd, ac y bu farw ar y groes, yr hyn oedd y peth mwyaf a welodd llygaid yr angelion erioed. Ond er cymaint ydyw, y maent hwy yn dychymygu y gallant wneyd yr un peth ag a gyflawnodd Crist trwyddo. Y mae eu hunan-gyfiawnder hwy mewn effaith yn cyhuddo offrymiad Crist o hono ei hun yn y dyoddefiadau hyn, fel yr enghraifft benaf o ffolineb a welodd dynion nac angelion erioed, yn lle bod yr amlygrwydd gogoneddusaf o ddoethineb a gras dwyfol. Ië, y mae hunan-gyfiawnder yn gwneyd y cwbl a wnaeth Crist trwy holl ystod ei fywyd, cymaint ag a lefarodd ac a ddyoddefodd, a'i gnawdoliaeth ei hun, ac nid hyny yn unig, ond hefyd y cwbl a wnaeth Duw yn

ngoruchwyliaethau mawrion ei ragluniaeth o ddechreuad y byd hyd yr amser hwnw, megys dim namyn golygfa o'r fwyaf gwyllt, ac ynfydrwydd yn myned tu hwnt i bob peth.

A ydyw yn unrhyw ryfeddod, gan hyny, fod ysbryd hunan-gyfiawn yn cael ei arddangos fel y mae yn yr ysgrythyr, ac yn cael llefaru am dano megys y mwyaf niweidiol i eneidiau dynion? Ac a ydyw yn un rhyfeddod fod Crist yn yr ysgrythyr yn cael ei ddangos fel yn cael ei gyffroi gymaint gan y Phariseaid ac ereill, y rhai oeddynt yn ymddiried iddynt eu hunain eu bod yn gyfiawn, ac yn ymfalchïo yn eu daioni, ac yn meddwl fod eu cyflawniadau hwy eu hunain yn rhyglyddiad drud o ffafr a chariad Duw?

Bydded i bawb o hyn allan gymeryd eu rhybuddio yn erbyn ysbryd hunan-gyfiawn. Chwychwi, y rhai ydych yn ymofyn am iachawdwriaeth, ac yn cymeryd poen gyda chrefydd, cymerwch ofal rhag ymddiried yn eich gweithredoedd. Na choleddwch y cyfryw feddyliau, y bydd i Dduw yn awr, ar ol iddo weled cymaint ydych wedi ei ddiwygio, a'ch bod rai prydiau yn edifarus, ymheddychu â chwi, ac na fydd mór eiddigeddus tuag at eich pechodau gynt; y bydd i chwi ennill arno trwy y cyfryw bethau, a denu ei galon i ddangos trugaredd i chwi; neu, o'r hyn lleiaf, y dylai Duw roddi derbyniad i'r hyn ydych yn ei wneyd, fel y byddo iddo gael ei dueddu trwy hyny i ryw fesur i faddeu i chwi, a chymeryd trugaredd arnoch. Os ydych yn mynwesu y meddwl bod Duw yn *rhwym* o wneyd hyny, ac nad yw yn gweithredu yn gyfiawn os gwrthyd ddangos parch i'ch gweddïau a'ch ymdrechion chwi; os ydych yn ymryson â Duw, ac yn achwyn arno nad yw yn ei wneuthur, mae hyn yn dangos beth ydyw eich tyb am eich cyfiawnder eich hun—ei fod yn bris gwerthfawr iachawdwriaeth, ac y dylai gael ei dderbyn fel y cyfryw gan Dduw. Mae y fath achwyniad ar Dduw, ac ymryson âg ef, am beidio cymeryd mwy o sylw o'ch cyfiawnder chwi, yn dangos yn amlwg eich bod yn euog o'r rhyfyg o feddwl eich hun yn ddigonol i offrymu pridwerth eich iachawdwriaeth.

III. Dyry yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn, ddefnydd argyhoeddiad i'r rhai hyny sydd yn diofal *esgeuluso* iachawdwriaeth Crist. Mae y rhai hyn yn arwain math o fywyd dideimlad, gan esgeuluso moddion crefyddol a'u heneidiau eu hunain, heb gymeryd unrhyw lwybr i gael rhan yn Nghrist, nac yn yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd, nac un hawl yn yr iachawdwriaeth a bwrcasodd ef. Mae eu meddyliau wedi eu llyngcu i fyny yn nghylch elw bydol, gwagedd a phleserau ieuengctyd, a diystyrwch o'r hyn a glywant yn nghylch iachawdwriaeth Crist, ac yn bresennol nid ydynt gymaint ag ymofyn am dani. Goddefwch i mi yma ymddyddan â chwi trwy rai gofyniadau ymresymgar.

1. A gafodd meddyliau cynifer o *brophwydi, a breninoedd, a chyfiawnion*, eu cymeryd i fyny gymaint â'r rhagolwg fod pwrcas iachawdwriaeth i gael ei weithio allan yn mhen oesoedd meithion wedi iddynt hwy feirw; ac a wnewch chwi ei hesgeuluso wedi iddi gael ei chyflawnu yn weithredol? Clywsoch am y cyfrif mawr yr oedd yr eglwys yn mhob oes yn ei wneuthur o bwrcas dyfodol Crist; mór orfoleddus yr oeddynt yn ei ddysgwyl, fel yr oeddynt yn llefaru am dano, fel yr oeddynt yn myfyrio ar y pethau hyn ac yn chwilio iddynt, fel y canasant ganiadau gorhoenus, ac fel yr oedd eu calonau yn llawenychu ynddo, er nad oeddynt yn dysgwyl y byddai iddo gael ei gyflawnu hyd lawer o oesoedd wedi eu marw hwy! 1 Petr 1. 10—12. Cymaint a lefarodd Esaiah a Daniel, a phrophwydi ereill, yn nghylch y prynedigaeth hwn! a chymaint yr oedd eu calonau yn ymhyfrydu ynddo, a'u sylw a'u myfyrdod wedi eu sefydlu arno! Fel yr oedd meddwl Dafydd wedi ei lyngcu gan y testun hwn! yr oedd ef yn dadgan mai hyn oedd ei holl iachawdwriaeth, a'i holl ddymuniad. 2 Sam. 23. 5. Fel y defnyddiodd ef ei lais a'i delyn i'w gyhoeddi, a'r fath amlygrwydd gogoneddus o ddwyfol ras a ddangosir ynddo!—a hyn oll, er nad oeddynt yn ei ganfod megys wedi ei gwblhau eto, ond yn gweled y byddai iddo gael ei ddwyn oddiam-

gylch yn mhen cymaint o amser wedi eu dydd hwy. Ac fel y darfu Abraham a'r patriarchiaid ereill, yn flaenorol i hyn, orfoleddu yn y rhagolwg ar ddydd Crist, a'r prynedigaeth yr oedd ef i'w bwrcasu! Ac fel yr oedd y seintiau hyd yn nod cyn y dylif yn ymgynhyrfu ac yn ymddyrchafu yn y dysgwyliad am y dygwyddiad gogoneddus hwn, er ei fod y pryd hwnw mór bell yn mlaen, ac yn cael ei ddadguddio mór egwan ac aneglur iddynt hwy.

Yn awr, y mae y pethau hyn yn cael eu cyhoeddi i chwi megys wedi eu cyflawnu yn weithredol. Yn awr y mae yr eglwys wedi gweled cyflawnu yr holl bethau mawrion y prophwydasant hwy mór orfoleddus am danynt; ac yr ydys wedi dangos i chwi yn ddigon eglur pa fodd y cafodd y pethau hyn eu cwblhau. Mat. 13. 17. "O blegyd yn wir meddaf i chwi, chwennychu o lawer o brophwydi a rhai cyfiawn weled y pethau a welwch chwi, ac nis gwelsant; a chlywed yr hyn a glywch chwi, ac nis clywsant." Ac eto, pan y mae y pethau hyn yn cael eu gosod fel yma yn ddigon eglur o'ch blaen chwi megys wedi eu cyflawnu yn barod, mór ddiystyrllyd ydych o honynt! Mor ddiofal ydych yn eu cylch, gan fyned ar ol pethau ereill, ac heb gymaint a theimlo un dyddordeb yn y pethau hyn! Yn wir y mae eich pechod yn gyffröus i'r eithaf yn ngolwg Duw. Y mae Duw wedi eich gosod chwi dan fanteision mawrion er eich tragywyddol iachawdwriaeth, llawer mwy nac a fwynhäwyd gan seintiau yr hen amseroedd. Gosododd chwi dan oruchwyliaeth ogoneddusach; rhoddodd i chwi eglurach dadguddiad o Grist a'i iachawdwriaeth; ac eto yr ydych yn esgeuluso yr holl fanteision hyn, ac yn myned rhagoch gan fyw yn ddiofal, megys pe na b'ai dim wedi ei wneuthur, na'r cyfryw gynygion wedi eu gosod o'ch blaen.

2. Ydyw yr *angelion* wedi bod mór weithgar gyda iachawdwriaeth Crist bob amser er cwymp dyn, er nad ydyw yn perthyn iddynt hwy yn union-gyrchol, ac a fydd i chwi, sydd mewn anghen o honi, ac yn cael cynyg arni, fod mór ddiofal

yn ei chylch ? Clywsoch fel y gwnaed yr angelion yn ddarostyngedig i Grist megys Cyfryngwr ar y cyntaf, ac fel y maent wedi bod o hyd yn ysbrydion gwasanaethgar iddo ef yn y gorchwyl hwn. Y maent hwy wedi bod, yn yr holl oruchwyliaethau mawrion y clywsoch am danynt o ddechreuad y byd, yn ddiwyd, ac megys fflam dân, ar waith yn wastadol fel ysbrydion gwasanaethgar yn gweinyddu i Grist yn ngwaith mawr prynedigaeth dyn. A phan ddaeth Crist, mór rwymedig oedd eu meddyliau gyda 'r gwaith! Daethant at Zecharias, i'w hysbysu o ddyfodiad rhagredegwr Crist. Daethant at y Forwyn Fair, i'w hysbysu fod genedigaeth Crist yn agosâu. Daethant at Ioseph, i'w rybuddio o'r perygl oedd yn bygwth yr Iachawdwr oedd newydd ei eni, ac i ddangos iddo pa fodd i'w ddïogelu. Ac fel yr oedd eu meddyliau wedi eu llyngcu i fyny yr amser y ganwyd Crist! Holl luaws y llu nefol a ganasant foliant, gan ddywedyd, "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Ac wedi hyny, yr oeddynt yn gweini i Grist o amser i amser pan oedd efe ar y ddaear; yr amser y temtiwyd ef, yn ei loes yn yr ardd, yn ei adgyfodiad, ac ar ei esgyniad. Mae yr holl bethau hyn yn dangos eu bod yn ddiwyd iawn gyda 'r gorchwyl; ac y mae yr ysgrythyr yn hysbysu i ni eu bod yn hoffi edrych i'r pethau hyn. 1 Petr 1. 12. "Ar yr hyn bethau y mae yr angelion yn chwennych edrych." Ac arddangosir hwy yn y Datguddiad megys yn cael eu cynnal yn y nefoedd i ganu moliant i'r Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac i'r Oen! Yn awr a gaiff y rhai hyn gymeryd cymaint sylw o'r iachawdwriaeth hon, ac o'r Iachawdwr, y rhai nid oes arnynt eu hunain unrhyw anghen am dani, nac un rhyw berthynas na dyddordeb ynddi, nac yn cael cynyg arni; ac a fydd i chwi sydd yn cael cynyg arni, ac yn y fath ddirfawr anghen am dani, esgeuluso cymeryd sylw o honi?

3. A ddarfu *Crist* lafurio mór galed, a dyoddef cymaint i gyrhaedd yr iachawdwriaeth hon, ac onid ydyw yn werth amser i chwi gymeryd ychydig drafferth i ymofyn am dani?

A oedd ein iachawdwriaeth ni yn gorwedd mór bwysig ar feddwl Crist, fel y cymhellwyd ef i ddyfod yn ddyn, ac i ddyoddef hyd yn nod angau ei hun, mewn trefn i'w chyrhaedd? ac onid ydyw yn werth amser i chwi, sydd mewn anghen o honi, ac a orfyddwch hebddi fod yn dragywyddol golledig, ymegnïo o ddifrif i feddiannu rhan ynddi pan y mae wedi ei chael, a phob peth yn barod?

4. A gymerodd *y Duw mawr* gymaint o ofal yn nghylch yr iachawdwriaeth hon, fel y mynych ddadymchwelodd y byd i wneyd ffordd iddi; ac wedi i bob peth gael ei orphen, onid ydyw o werth i chwi ymofyn am dani? Y fath bethau mawrion a rhyfedd a wnaeth efe: symud a gosod breninoedd, codi i fyny nifer mawr o brophwydi, gwahanu pobl neillduol oddiwrth y gweddill o'r byd, dadymchwelyd cenedloedd a theyrnasoedd, a sefyllfa y byd yn fynych; ac felly y parhäodd i ddwyn yn mlaen y naill gyfnewidiad a chwyldröad ar ol y llall am ddeugain canrif yn olynol, i wneyd ffordd i gyrhaeddyd yr iachawdwriaeth hon! A phan y daeth yr Iachawdwr mawr ar ddiwedd yr oesoedd hyn, gan fyned trwy restr faith o waradwydd a thlodi, a dyoddef holl dónau llifeiriol digofaint Duw dros bechodau dynion, hyd oni orchuddiwyd ei enaid ganddynt: ac wedi cyflawnu yr holl bethau hyn er cyrhaeddyd iachawdwriaeth i bechaduriaid, onid ydyw yn werth i chwi ofalu cymaint yn ei chylch, fel ag i beidio ei thaflu o'r neilldu, a gwneyd yn fach o honi, mewn cydmariaeth i elw bydol, dillad gwychion, digrifwch ieuengctyd, a phethau distadl ereill?

Oh! na fyddai i chwi y rhai ydych yn byw yn ddiofal am yr iachawdwriaeth hon, ystyried beth yr ydych yn ei wneyd! Gall yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn ddangos i chwi y rheswm sydd dros ddefnyddio yr holiad hwnw o eiddo yr apostol, (Heb. 2. 3,) "Pa fodd y dïangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" ac Act. 13. 41, "Edrychwch, O ddirmygwyr, a rhyfeddwch, a diflenwch: canys yr wyf yn gwneuthur gweithred yn eich dyddiau, gwaith ni chredwch

ddim, er i neb ei ddangos i chwi." Mae Duw yn edrych arnoch chwi fel gelynion chwerwon i groes Crist, megys gwrthwynebwyr a dirmygwyr holl ogoniant y gwaith mawr hwn. Ac os gwnaeth Duw gymaint cyfrif o ogoniant yr iachawdwriaeth fel y dinystriodd lawer o genedloedd i barotoi y ffordd i amlygu gogoniant ei Fab ynddi, pa mór fychan fydd y cyfrif a wna efe o fywydau ac eneidiau deng mil o'r fath wrthwynebwyr a diystyrwyr a chwi, y rhai ydych yn parhau yn anedifeiriol, pan y mae eich iachawdwriaeth yn gorphwys yn llwybr y gogoniant hwnw? Yn ddiau chwi a ddryllir yn chwilfriw fel llestr y crochenydd, ac a sethrir i lawr fel tom yr heolydd. Ond gall Duw, trwy amynedd rhyfeddol, gydddwyn â phechaduriaid celyd diofal am ychydig; eithr nid hir y bydd iddo gyd-ddwyn â'r fath ddïystyrwyr o'i anwyl Fab a'i iachawdwriaeth fawr, cyn y llwyr ddinystria efe hwynt, fel na byddo meddyginiaeth na thrugaredd.

## II. *Defnydd Cefnogrwydd.*

Diweddaf âg ail ddefnydd er cefnogi eneidiau llwythog i roddi eu hyder yn Nghrist am iachawdwriaeth. I bawb nad ydynt yn ddiofal ac esgeulus, ond yn gwneuthur ymofyn am ran yn Nghrist eu gorchwyl penaf, y rhai ydynt i ryw fesur yn deimladwy o'u hangen, ac yn arswydo rhag y digofaint sydd ar ddyfod: i'r cyfryw rai, y mae yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn yn dal allan gefnogrwydd mawr i anturio eu heneidiau ar yr Arglwydd Iesu Grist. Ac fel annogaethau priodol i'ch cynhyrfu i wneyd felly, gadewch i mi eich harwain i ystyried dau beth yn neillduol.

1. *Cyflawnder* y prynedigaeth a wnaethpwyd. Yr ydych wedi gweled i'r gorchwyl o bwrcasu iachawdwriaeth gael ei gwbl orphen yn ystod amser darostyngiad Crist. Pan ddaeth Crist i fyny oddiwrth y meirw, ac y dyrchafwyd ef o'r sefyllfa wael yr ymddarostyngasai iddi er ein hiachawdwriaeth ni, prynedigaeth bywyd tragywyddol a

gwbl orphenwyd, fel nad oedd yn ofynol i un peth yn ychwaneg gael ei wneyd mewn perthynas iddo. Ond yn awr y gweision a anfonwyd allan gyda'r genadwri, (Mat. 22. 4.) "Wele, parotöais fy nghiniaw: fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod: deuwch i'r briodas." Gan hyny, a ydyw eich pechodau yn fawrion ac aml? Y mae yma ddigon wedi ei wneyd gan Grist i brynu eu maddeuant. Nid yw yn ofynol i chwi wrth ddim cyfiawnder o'r eiddoch eich hunain er cael maddeuant a chyfiawnhad i'ch meddiant; nac yw, ond gellwch ddyfod yn rhad, heb arian ac heb werth. Am hyny, gan fod y fath wahoddiad rhydd a grasol, yn cael ei roddi i chwi, deuwch, deuwch yn noeth fel yr ydych; deuwch megys troseddwr tlawd a cholledig; deuwch a bwriwch eich hun i lawr wrth draed Crist, fel un wedi ei gollfarnu yn gyfiawn, ac yn hollol ddigymhorth. Y mae yma iachawdwriaeth gyflawn wedi ei gweithio allan gan Grist, a thrwyddo ef yn cael ei chynyg i chwi. Deuwch, gan hyny, derbyniwch hi, a byddwch gadwedig.

2. Byddai i Grist wrthod un yn dyfod ato fel hyn wneyd yn ofer yr holl bethau mawrion a ddygodd Duw oddiamgylch o gwymp dyn hyd gnawdoliaeth Crist. Gwnelai hyny hefyd y cwbl a wnaeth ac a ddyoddefodd tra ar y ddaear yn ofer; ïe, gwnelai yn ofer y cnawdoliaeth ei hun. Hyn oedd dyben yr holl bethau mawrion a wnaethpwyd, fel y byddai i'r sawl a ddeuai at Grist gael eu hachub. Gan hyny gellwch fod yn sicr na fydd Crist yn ol o achub pawb a ddeuant ato, ac a ymddiriedant ynddo; canys nid ydyw ef yn ewyllysio ymrwystro yn ei waith ei hun. Nis gwrthodir chwi gan Dduw y Tad chwaith; canys nid ydyw ef yn ewyllysio siomi ei hun yn y cwbl a wnaeth am gynifer o gannoedd a miloedd o flynyddoedd, i barotoi y ffordd i iachawdwriaeth pechaduriaid trwy Grist. Deuwch, gan hyny, gwrandewch ar alwadau mwyn a thaerion Crist ar eich eneaid. Deuwch tra y mae yn eich gwahodd, a gwnewch fel y mae yn gorchymyn i chwi. Mat. 11. 28—30. "Deuwch

atiaf fi, bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; a chwi a gewch orphwysdra i'ch heneidiau. Canys fy iau sydd esmwyth a'm baich yn ysgafn."

---

# CYFNOD III.

## O ADGYFODIAD CRIST HYD DDIWEDD Y BYD.

Yr ydym wedi dangos yn barod pa fodd y dygwyd gwaith y prynedigaeth yn mlaen trwy y *ddau flaenaf* o'r *tri chyfnod*, i ba rai yr ydym wedi dosparthu holl yspaid amser o'r cwymp hyd ddiwedd y byd. Yr ydym yn awr yn dyfod at y trydydd a'r olaf o honynt, yr hwn sydd yn dechreu gydag adgyfodiad Crist; a dangoswn, *fod yr yspaid amser o ddiwedd darostyngiad Crist hyd ddiwedd y byd yn cael ei gymeryd i fyny i gyd i ddwyn oddiamgylch effaith neu lwyddiant mawr ei brynedigaeth.*

## RHAGARWEINIAD I'R TRYDYDD CYFNOD.

Nid am na fu effeithiau mawrion a llwyddiant gogoneddus i brynedigaeth Crist o'r blaen, hyd yn nod o ddechreuad cenedlaethau dynion: eithr nid oedd yr holl lwyddiant hwnw ond rhagddarpariadol yn unig, mewn ffordd o ddysgwyliad, fel rhyw ychydig ffrwythau a gesglir yn mlaen y cynhauaf. Nid oedd ychwaneg o lwyddiant cyn i Grist ddyfod nac a welodd Duw yn ofynol i barotoi y ffordd i'w ddyfodiad ef. Yr amser priodol i brynedigaeth Crist lwyddo a chael effaith, sydd wedi i'r prynedigaeth gael ei wneyd, megys mai amser priodol y byd i fwynhau goleuni yr haul ydyw y dydd, wedi iddo godi, er i ni efallai gael rhyw ychydig o'i adlewyrchiad oddiwrth y lloer a'r planedau yn flaenorol i

hyny. Ac nid oedd llwyddiant prynedigaeth Crist pan yr oedd ef ei hun ar y ddaear, ond bychan mewn cymhariaeth i'r hyn a fu wedi hyny.

Ond wedi i Grist orphen y gorchwyl mwyaf ac anhawsaf o bob gwaith, yn awr daeth yr amser i gyrhaedd y dyben, sef yr effaith gogoneddus o hono. Wedi iddo fyned trwy ei holl ddyoddefiadau a'i ddarostyngiad, nid ydyw ef i ddyoddef mwy. Eithr yn awr y daeth yr amser iddo fwynhau y llawenydd a osodwyd o'i flaen. Gan "iddo roddi ei enaid yn aberth dros bechod," yn bresennol yw yr amser iddo "weled o'i had," cael "rhan gyda llawer," a "rhanu yr yspail gyda 'r cedyrn."

Gosod i lawr sail i ddadymchwelyd teyrnas Satan, oedd un o ddybenion ymddarostyngiad Crist; ac yn awr ydyw yr amser i effeithio hyny, megys y dywedodd Crist ychydig cyn ei groeshoeliad: "Yn awr y mae barn y byd hwn: yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn." Ioan 12. 31. Dyben arall oedd, casglu yn nghyd bob peth yn Nghrist, fel y gwelir yn adnod 32: "A minau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun;" yr hyn sydd yn gydunol â phrophwydoliaeth Iacob am Grist, pan ddeuai y Siloh, mai "ato ef y byddai cynnulliad pobloedd." Gen. 49. 10. Dyben arall ydyw iachawdwriaeth ei bobl. Yn awr, wedi gorpheniad ei ddyoddefiadau, a pherffeithiad ei ymddarostyngiad, mae yr amser i hyny hefyd gymeryd lle wedi dyfod. Heb. 5. 8, 9. "Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd: ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo." Dyben arall oedd, cwblhau, trwy y pethau hyn, ogoniant mawreddus i bersonau y Drindod. Ioan 17. 1. "Y Tad, daeth yr awr; gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau." Dyben arall oedd gogoneddiad y saint. Ioan 17. 2. "Megys y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol." Ac o hyn allan y mae holl oruchwyliaethau rhagluniaeth

Duw, hyd yn nod i ddyddimiad pob peth, i roddi ei wobr i Grist, ac i gyflawnu ei ddyben yn yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd ar y ddaear, a'r llawenydd a osodwyd o'i flaen ef.

I. *Arddangosiadau Ysgrythyrol o'r Cyfnod hwn.*

Cyn myned yn mlaen i ystyried unrhyw beth neillduol a gyflawnwyd yn ystod y cyfnod hwn, sylwaf yn fyr pa fodd y mae ei amseroedd yn cael eu harddangos yn yr ysgrythyr.

I. Gelwir amseroedd y cyfnod hwn, gan mwyaf, yn yr Hen Destament, *y dyddiau diweddaf*. Yr ydym yn darllen yn fynych yn mhrophwydi yr Hen Destament am bethau a gai eu dwyn oddiamgylch *yn y dyddiau diweddaf*, ac weithiau *yn y dyddiau olaf*, yr hyn sydd yn cyfeirio yn eglur at ddyddiau yr efengyl. Gelwir hwy *y dyddiau diweddaf*, a'*r dyddiau olaf*, o herwydd mai hwn yw y cyfnod olaf o restr rhagluniaethau Duw ar y ddaear, cyfnod diweddaf gwaith mawr y prynedigaeth; yr hwn sydd i symio i fyny megys weithredoedd rhagluniaethol Duw; goruchwyliaeth ddiweddaf y cyfammod gras ar y ddaear.

II. Gelwir holl ystod y cyfnod hwn yn yr Ysgrythyr weithiau yn *derfynau yr oesoedd*. 1 Cor. 10. 11. "A'r pethau hyn oll a ddygwyddasant yn siamplau iddynt hwy, ac a ysgrifenwyd yn rhybudd i ninau, ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd." Ac y mae yr apostol, (Heb. 9. 26,) wrth yr ymadrodd *diwedd y byd*, yn meddwl holl ddydd yr efengyl, o enedigaeth Crist hyd ddydd y farn: "Eithr yr awrhon unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." Da y gellir galw yr yspaid hwn o amser yn *ddiwedd y byd;* canys y mae yr holl amser hwn yn cael ei gymeryd i fyny i ddwyn pethau i'w terfyn. O'r blaen yr oedd pethau mewn math a sefyllfa barotöawl; ond yn awr y maent yn eu sefyllfa orphenawl. Dygwyd yn bresennol derfyn i sefyllfa gnawdol y pethau blaenorol, yr

hon sydd yn diflanu yn raddol, ac y mae sefyllfa ysbrydol yn cael ei sefydlu fwy fwy. Dygwyd diwedd yn enwedig i sefyllfa flaenorol yr *eglwys*, yr hon y gellir ei galw yn sefyllfa fydol, dan yr hon yr ydoedd yn ddarostyngedig i ordinhadau cnawdol ac egwyddorion y byd. Yna y daeth diwedd i'r *wladwriaeth* Iuddewig, trwy ddinystr eu dinas a'u gwlad. Wedi hyn, yn amser Cystenyn, fe ddaeth diwedd i'r hen *ymherodraeth Baganaidd*. Y cam nesaf fydd gorpheniad *teyrnas weledig Satan* yn y byd, trwy gwymp Anghrist, a galwad yr Iuddewon. Ac, yn olaf, daw dinystr ar agwedd allanol y byd ei hun, ar derfyniad dydd y farn. Dechreuodd y nefoedd a'r ddaear *ymysgwyd*, mewn trefn i ymddatod, yn ol prophwydoliaeth Haggai, cyn dyfodiad Crist, fel y byddai i'r pethau nis gellir eu symud yn unig aros, (Heb. 12. 27 ;) hyny yw, fel y byddai i'r pethau sydd i ddyfod i ben derfynu, ac na byddai i ddim ond yr hyn sydd i barhau yn oesoedd yn unig aros.

Yn y lle cyntaf, fe derfynwyd ordinhadau cnawdol yr addoliad Iuddewig, *er gwneyd ffordd* i osod i fyny addoliad ysbrydol yr hwn sydd i barhau yn dragywydd. Ioan 4. 21. "Iesu a ddywedodd wrthi hi, O wraig, cred fi, y mae yr awr yn dyfod, pryd nad addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac yn Ierusalem." Adn. 23. "Ond dyfod y mae yr awr, ac yn awr y mae hi, pan addolo y gwir addolwyr y Tad mewn ysbryd a gwirionedd: canys y cyfryw y mae y Tad yn eu ceisio i'w addoli ef." Un enghraifft yw hyn o ddyfodiad y byd tymhorol i ben, a dechreuad y byd tragywyddol. Ac yna y daeth diwedd i'r deml allanol a dinas Ierusalem, er *rhoddi lle* i osod i fyny ddinas a theml ysbrydol, y rhai ydynt i barhau byth. Enghraifft arall o symudiad ymaith y pethau sydd barod i ddiflanu, fel y byddo i'r pethau nis gellir eu symud aros, yw dygiad yr hen ymherodraeth Baganaidd i'w therfyn, er gwneyd ffordd i ymherodraeth Crist, yr hon sydd i barhau yn dragywyddol. Wedi hyny, ar gwymp Anghrist, fe roddir terfyn i rwysg gweledig Satan ar y ddaear, ac fe sefydlir breniniaeth Crist,

yr hon sydd freniniaeth dragywyddol. Dan. 7. 27. "A'r freniniaeth a'r llywodraeth, a mawredd y freniniaeth dan yr holl nefoedd, a roddir i bobl saint y Goruchaf, yr hwn y mae ei freniniaeth yn freniniaeth dragywyddol, a phob llywodraeth a wasanaethant ac a ufuddhant iddo;" yr hyn sydd enghraifft arall o ddyddimiad y byd tymhorol, a dechreuad yr un tragywyddol. Ac yna, yn olaf, fe roddir terfyn i ffurf y byd llygredig hwn, i wneyd ffordd i'r eglwys breswylio mewn preswylfa arall, yr hyn sydd i barhau yn dragywydd.

O herwydd fod y byd yn dyfod fel hyn i'w derfyn trwy amrywiol gamrau a graddau, efallai, y mae yr apostol yn defnyddio yr ymadrodd, fod *terfynau* y byd, ac nid *terfyn* y byd, wedi dyfod arnom; fel pe byddai i'r byd lawer o derfyniadau y naill ar ol y llall. Yr oruchwyliaeth efengylaidd ydyw y sefyllfa orphenol; y mae i gael ei threulio i gyd i orphen pethau oeddynt o'r blaen yn cael eu parotoi, neu i ddyddimu pethau oeddynt o'r blaen yn sefyll. Y mae i gael ei threulio i gyd megys i symio pethau i fyny, ac i'w dwyn i'w canlyniad a'u priodol gyflawniad. Yn awr y mae yr holl gysgodau wedi eu cyflawnu, ac fe fydd i holl ragfynegiadau y prophwydi, o ddechreuad y byd, gael eu cyflawnu yn y cyfnod hwn.

III. Gelwir y sefyllfa a gyrhaeddir trwy ddygwyddiadau y cyfnod hwn yn *nefoedd newydd a daear newydd.* Esaiah 65. 17, 18. "Canys wele fi yn creu nefoedd newydd, a daear newydd: a'r rhai cyntaf ni chofir, ac ni feddylir am danynt. Eithr llawenhewch a gorfoleddwch yn dragywydd yn y pethau a grëwyf fi: canys wele fi yn creu Ierusalem yn orfoledd, a'i phobl yn llawenydd." Pen. 66. 22. "Canys megys y saif ger fy mron y nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y rhai a wnaf fi, medd yr Arglwydd, felly y saif eich had chwi, a'ch enw chwi." Gwel hefyd ben. 51. 16. Megys ag y mae sefyllfa flaenorol pethau, neu yr hen fyd, trwy y naill gam ar ol y llall, yn ystod y cyfnod hwn, yn dyfod i'w terfyn; felly y mae sefyllfa newydd

pethau, neu y ddaear newydd, yr hon sydd sefyllfa ysbrydol, yn cael ei *dechreu* a'i gosod i fyny. Mewn canlyniad i bob un o'r terfyniadau hyn i hen sefyllfa pethau, y mae dechreuad i sefyllfa newydd a thragywyddol. Felly, yr hyn oedd yn cydfyned â dinystr yr Ierusalem lythyrenol, oedd sefydliad yr un ysbrydol. Felly hefyd gyda golwg ar ddinystr yr hen ymherodraeth Baganaidd, yn nghyda phob terfyniad arall i hen sefyllfa pethau; hyd oni ddelo terfyn o'r diwedd i ddull allanol y byd ei hun; a'r eglwys a gaiff breswylio yn y nefoedd, yr hon a fydd breswylfod newydd. Yna y cwbl gyflawnir yr hyn a feddylir wrth y nefoedd newydd a'r ddaear newydd. Gwel Dat. 21. 1.

Darparu teyrnas i'w Fab, yr hon oedd i barhau yn dragywydd, oedd dyben Duw yn nghrëadigaeth y byd, (canys y mae efe wedi ei neillduo i fod yn etifedd y byd.) Cyn belled ag y mae *teyrnas Crist wedi ei gosod i fyny* yn y byd, *cyn belled a hyny* y mae y byd wedi ei ddwyn i'w derfyn, a sefyllfa pethau tragywyddol wedi ei gosod i fyny—*cyn belled a hyny* y mae yr holl gyfnewidiadau a'r chwyldröadau mawrion yn y byd wedi eu dwyn i'w canlyniadau tragywyddol, a phob peth wedi dyfod i'w terfyn eithaf—*cyn belled a hyny* y mae dyfroedd afon faith Rhagluniaeth ddwyfol, i'r hon y mae cynifer o ffrydiau, a chynifer o ddirwyniadau, yn ymarllwys i'w cefnfor priodol, yr hwn y buont yn chwilio am dano o ddechreuad eu gyrfa, ac felly y maent wedi dyfod i'w gorphwysfa. Cyn belled ag y mae breniniaeth Crist wedi ei sefydlu yn y byd, *cyn belled a hyny* y mae pethau wedi eu dirwyn i fyny a'u sefydlu yn eu sefyllfa dragywyddol, a therfyn wedi ei roddi i yrfa pethau yn y byd cyfnewidiol hwn; *cyn belled a hyny* y mae y nefoedd gyntaf a'r ddaear gyntaf wedi dyfod i derfyniad, a'r nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y nefoedd a'r ddaear dragywyddol, wedi eu sefydlu yn eu lle.—Y mae hyn yn fy arwain i sylwi,

IV. Fod y sefyllfa a gyrhaeddir trwy ddygwyddiadau y cyfnod hwn, yn cael ei galw yn fynych yn *deyrnas nefoedd*, neu *deyrnas Dduw*. Yr ydym yn darllen yn

fynych yn y Testament Newydd am deyrnas nefoedd. Yr oedd Ioan Fedyddiwr yn pregethu fod teyrnas nefoedd yn nesàu; ac felly yr oedd Crist, a'i ddysgyblion ar ei ol ef; gan gyfeirio at rywbeth a ddysgwylid gan yr Iuddewon yn y dyddiau hyny a elwid wrth yr enw hwn. Ymddengys iddynt gymeryd y dysgwyliad a'r enw hwn yn benaf oddiwrth brophwydoliaeth Daniel o freuddwyd Nebuchodonosor. Dan. 2. 44. "Ac yn nyddiau y breninoedd hyn, y cyfyd Duw y nefoedd freniniaeth." Gwel hefyd pen. 7. 13, 14.

Yn awr, y *deyrnas nefoedd* yma ydyw sefyllfa efengylaidd pethau yn yr eglwys, ac yn y byd, yn yr hyn y mae llwyddiant prynedigaeth Crist yn gynnwysedig yn y cyfnod hwn. Gosodwyd i fyny deyrnasoedd galluog yn fynych o'r blaen, megys yr unbenaethau Babilonaidd, Persaidd, Groegaidd, a Rhufeinaidd. Ond Crist a ddaeth i osod i fyny y ddiweddaf, yr hon nid yw deyrnas ddaearol, ond un nefol. Ioan 18. 36. "Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn." Hon yw y deyrnas y mae Crist yn llefaru am dani yn Luc 22. 29, "Ac yr wyf yn ordeinio i chwi deyrnas, megys yr ordeiniodd fy Nhad i minau." Dechreuwyd y deyrnas hon yn fuan wedi adgyfodiad Crist, ac fe 'i cwblhëir trwy *amrywiol gamrau* o'r pryd hwnw hyd ddiwedd y byd. Wrth *deyrnas nefoedd* y meddylir weithiau, nid yn unig sefyllfa *ysbrydol* yr eglwys, yr hyn a ddechreuodd yn fuan wedi adgyfodiad Crist; eithr hefyd y sefyllfa *fwy perffaith* a gyrhaedda wedi cwymp Anghrist; ac weithiau y sefyllfa fwy *gogoneddus* a bendigedig y derbynir hi iddi yn nydd y farn. Felly yn 1 Cor. 15. 50. "Eithr hyn meddaf, O frodyr, na ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw."—Sylwn dan y pen hwn ar amryw bethau yn neillduol, er deall yr hyn a ddywed yr ysgrythyrau mewn perthynas i'r cyfnod yma, yn fwy eglur.

1. Y mae teyrnas Crist yn cael ei gosod i fyny yn benaf trwy bedwar o amgylchiadau mawrion dylynol, pob un o ba rai a elwir yn yr ysgrythyr yn *ddyfodiad Crist yn ei freniniaeth.* Y *cyntaf* oedd ei ymddangosiad yn ngoruch-

wyliaethau rhyfeddol ei ragluniaeth yn nyddiau yr apostolion, i osod i fyny ei deyrnas, a dinystrio ei elynion, yr hyn a derfynodd yn ninystr Ierusalem. Gelwir hyn yn ddyfodiad Crist yn ei freniniaeth. Mat. 16. 28. "Yn wir y dywedaf wrthych, y mae rhai o'r sawl sydd yn sefyll yma, a'r ni phrofant angau, hyd oni welant Fab y dyn yn dyfod yn ei freniniaeth." Yr *ail* a gyflawnwyd yn amser Cystenyn, pan ddinystriwyd yr ymherodraeth Rufeinig Baganaidd. Mae hyn yn cael ei arddangos fel dyfodiad Crist, a'i gyffelybu i'w ddyfodiad i farn. Dat. 6. 13—17. Y *trydydd* a gyf lawnir yn nghwymp Anghrist, ac a arddangosir fel dyfodiad Crist yn ei freniniaeth. Dan. vii., &c. Y *pedwerydd* yw ei ddyfodiad i'r farn olaf; a dyma y peth a arwyddocëir yn benaf yn yr ysgrythyr wrth *ddyfodiad Crist yn ei deyrnas.*

2. Mae pob un o'r tri dyfodiad blaenaf o'r rhai hyn yn ddarlun neu gysgod bywiog o'r pedwerydd dyfodiad a'r olaf, sef dyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf, fel yr oedd prif oruchwyliaethau rhagluniaeth o'r blaen, yn gysgodau o'i ddyfodiad cyntaf. Fel y bydd adgyfodiad y meirw yn gysylltiedig â dyfodiad olaf Crist i'r farn, felly y mae pob un o'r tri blaenorol âg adgyfodiad ysbrydol. Yr oedd adgyfodiad *ysbrydol* gogoneddus yn ngalwad y Cenedloedd, trwy yr hyn y dychwelwyd lluaws ato ef trwy bregethiad yr efengyl, o flaen ei ddyfodiad ef i ddinystrio Ierusalem. Ac yr oedd yn cydfyned â dyfodiad Crist yn amser Cystenyn, adgyfodiad *ysbrydol* gogoneddus y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus, yn ei adferiad i'r sefyllfa o eglwys weledig o gyflwr Paganaidd. Bydd yn canlyn dyfodiad Crist i ddinystrio Anghrist, adgyfodiad *ysbrydol* i'r eglwys, wedi iddi fod yn hir megys yn farw, yn amser Anghrist. Gelwir hyn yr *adgyfodiad cyntaf.* Dat. 20. 5.

Drachefn, megys y bydd i Grist amlygu ei hun yn ogoneddus yn y farn ddiweddaf, a dyfod yn ngogoniant ei Dad, felly y mae efe yn mhob un o'r tri amgylchiad blaenorol yn amlygu ei hun yn ogoneddus yn ei farnedigaethau ar ei elynion, ac yn nangosiad gras ac ewyllys da i'w eglwys. Ac

megys y bydd yn cydfyned â dyfodiad diweddaf Crist, gasgliad personol yn nghyd o'i etholedigion o bedwar gwynt y nefoedd, felly yr oedd yn nglŷn â phob un o'r rhai blaenorol gasgliad ysbrydol i'r eglwys. Megys y bydd i'r casgliad hwn o'r etholedigion gael ei effeithio gan angelion Duw â sain udgorn, (Mat. 24. 31;) felly yr oedd pob un o'r casgliadau ysbrydol blaenorol, yn cael ei effeithio trwy udgorn yr efengyl, yr hwn a seinid gan weinidogion Crist. Fel y bydd yn rhagflaenu ymddangosiad olaf Crist, amser o ddirywiad ac annuwioldeb mawr, felly y bu, neu y bydd, gyda phob un o'i ymweliadau ereill. Y mae amser o wrthwynebrwydd mawr i'r eglwys yn rhagflaenori pob un o honynt; yn flaenorol i'r cyntaf, gwnaed gwrthwynebiad grymus iddi gan yr Iuddewon; i'r ail, yn amser Cystenyn, gan y Paganiaid; i'r trydydd, gan Anghrist; ac yn olaf, gwrthwynebir hi gan Gog a Magog, yn ol y desgrifiad a roddir yn y Datguddiad.

Yr oedd Duw yn effeithio *gwaredigaethau* gogoneddus i'w eglwys, trwy bob un o'r dyfodiadau hyn o eiddo Crist. Yr oedd yn nglŷn â'r *cyntaf*, yr hwn a derfynodd yn ninystr Ierusalem, ddygiad yr eglwys i sefyllfa ogoneddus yr efengyl. Yr oedd yn cydfyned â'r *ail*, yn amser Cystenyn, ddyrchafiad i'r eglwys o'i chyflwr erlidigaethus i sefyllfa o ryddid, a nodded yr awdurdodau gwladol, yn nghyda goruchafiaeth ar ei herlidwyr Paganaidd. Bydd yn cydfyned â'r *trydydd*, yr hwn a gymer le gyda chwymp Anghrist, ddyrchafiad yr eglwys i'r sefyllfa ogoneddus hono yr ydym yn darllen am dani mór fynych yn rhanau prophwydoliaethol yr ysgrythyr, trwy lwyddiant cyffredinol y gwirionedd, mwynhad o ryddid, heddwch a llawenydd. Ac yn nglŷn â'r *olaf* y bydd dyrchafiad i'r eglwys i ogoniant perffaith yn y nefoedd.

Y mae *dinystr* arswydus i'r annuwiolion, a gelynion yr eglwys, yn cydfyned â phob un o'r ymweliadau hyn o eiddo Crist. Yr oedd yn cydfyned â'r *cyntaf* ddinystr yr Iuddewon erlidigaethus, yr hyn oedd yn hynod o ddychrynllyd;

a'r *ail*, â barnedigaethau arswydus yr erlidwyr Paganaidd; ac yn cydfyned â'r *trydydd*, y bydd dinystr ofnadwy Anghrist, y gelyn chwerwaf a chreulonaf y cyfarfu yr eglwys âg ef erioed; a'r *pedwerydd*, â digofaint a dïaledd dwyfol ar yr holl annuwiolion. Yn mhellach, y mae *pob un* o'r ymweliadau hyn o eiddo Crist yn derfyn i'r hen bethau, ac yn ddechreuad nefoedd newydd a daear newydd; neu yn derfyn i sefyllfa dymhorol, ac yn ddechreuad i un dragywyddol.

3. Sylwyf, nad yw pob un o'r goruchwyliaethau mawrion hyn, y rhai ydynt yn arddangos dyfodiad Crist yn ei deyrnas, ond cynifer o gamrau a graddau o gyflawniad yr un amgylchiad hwnw a ragfynegwyd gan Dan. 7. 13. 14: "Mi a welwn mewn gweledigaethau nos, ac wele, megys Mab y dyn oedd yn dyfod gyda chymylau y nefoedd; ac at yr Hen Ddihenydd y daeth, a hwy a'u dygasant ger ei fron ef. Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a breniniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenedloedd a ieithoedd ei wasanaethu ef: ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i freniniaeth ni ddyfethir." Hyn yw y peth yr oedd yr Iuddewon yn dysgwyl am dano, ac yn ei alw yn "ddyfodiad teyrnas nefoedd;" a'r hyn yr oedd Ioan Fedyddiwr a Christ yn cyfeirio ato, pan y dywedent, "Nesäodd teyrnas nefoedd." Mae yr amgylchiad mawr hwn yn cael ei gyflawnu trwy amrywiol gamrau.

4. Pan ddaeth Crist, gyda phregethiad yr apostolion, i osod ei deyrnas i fyny yn y byd, yr hon oruchwyliaeth a derfynodd gyda dinystr Ierusalem, cafodd ei gyflawnu y pryd hyn i radd *gogoneddus;* pan ddinystriwyd yr ymherodraeth Baganaidd yn amser Cystenyn, cafodd ei gyflawnu radd *yn mhellach;* pan ddinystrir Anghrist, caiff ei gyflawnu radd yn *uwch eto:* ond pan ddelo diwedd y byd, yna y cyflawnir ef i'r gradd *perffeithiaf* o gwbl. Ac am nad yw y pedwar dygwyddiad mawr hyn ond darluniau y naill o'r llall, a'r tri blaenaf ond cysgodau o'r olaf, a chan nad ydynt oll ond cynifer o gamrau tuag at ddwyn yr un peth

i ben; am hyny gwelwn eu bod o amser i amser yn cael prophwydo am danynt oll fel un peth, megys yn mhrophwydoliaethau Daniel, ac yn y 24ain bennod o Matthew, lle yr ymddengys fod rhyw bethau yn fwy perthynol i'r naill o honynt, a phethau ereill i arall.

Gan fod teyrnas Crist yn cael ei dwyn yn mlaen trwy amrywiol gamrau, ymddengys fod y dyben yn mhob un o honynt yn cael ei gyflawnu i *bellach gradd* nac yn y rhagflaenorol. Yr oedd hwnw yn amser Cystenyn yn fwy a phellach cyflawniad o deyrnas Crist, na 'r un a derfynodd yn ninystr Ierusalem; bydd yr hyn a wneir yn nghwymp Anghrist yn gyflawniad pellach o'r un peth, na 'r hyn a gymerodd le yn amser Cystenyn; ac felly yn mlaen gyda golwg ar bob un: felly y mae teyrnas Crist yn cynyddu ac yn myned rhagddi yn raddol trwy yr amrywiol gamrau mawrion hyn o'i chyflawniad, o amser adgyfodiad Crist hyd ddiwedd y byd.

5. Y *rhagluniaethau mawrion o eiddo Duw rhwng y pedwar amgylchiad hyn*, ydynt i wneyd ffordd i deyrnas a gogoniant Crist, yn y dygwyddiad mawr sydd i ganlyn. Ymddengys fod yr holl oruchwyliaethau rhagluniaethol hyny tuag at yr eglwys a'r byd, yn flaenorol i ddinystr yr ymherodraeth Baganaidd yn amser Cystenyn, yn gwneyd ffordd i amlygu gogoniant Crist, a dedwyddwch yr eglwys trwy yr amgylchiad hwnw. Ac felly y rhagluniaethau mawrion wedi hyny, hyd gwymp Anghrist, a dechreuad yr amser gogoneddus a wawria ar yr eglwys yn y canlyniad, ydynt oll, fel yr ymddengys, i barotoi y ffordd i fwy o ogoniant Crist a'i eglwys trwy yr amgylchiad hwnw; a'r rhai dylynol hyd ddiwedd y byd, ymddengys, ydynt oll i amlygu mwy o ogoniant Crist yn nyddimiad pob peth. Meddyliais fel hyn mai anghenreidiol oedd gwneyd sylw cyffredinol ar y pethau uchod fel y maent yn dwyn perthynas â'r cyfnod diweddaf, cyn cymeryd sylw o ragluniaethau *neillduol*, trwy ba rai yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei gario yn mlaen yn ystod y cyfnod hwn, yn eu trefn.

Cyn myned yn mlaen, rhoddaf ateb byr i un GOFYNIAD, *sef*, Paham y mae teyrnas Crist, wedi ei ymddarostyngiad ef, yn myned yn mlaen *mór raddol*, pan y gallasai Duw yn hawdd ei gorphen ar unwaith?—Er mai rhyfyg fyddai i ni honi dirnad holl ddybenion Duw yn hyn, eto yn ddiau y mae llawer o'i ddoethineb ef i'w weled ynddo; ac yn neillduol yn y ddau beth hyn:

1. Y mae gogoniant doethineb Duw trwy hyn yn cael ei ddwyn yn *fwy amlwg* i sylw crëaduriaid. Pe buasai yn cael ei wneyd ar unwaith, neu mewn amser hynod o fyr, ni chawsid y fath gyfleusderau i'w ddirnad ac i sylwi ar gamrau manwl doethineb dwyfol a phan y mae y gorchwyl yn cael ei gyflawnu yn raddol, a'r naill effaith o'i ddoethineb ef yn cael ei ddwyn i'n sylw ar ol y llall. Y mae Duw wedi penderfynu yn ddoeth gyflawnu y dyben mawr hwn trwy restr hirfaith o ddygwyddiadau rhyfeddol, fel y byddo i'w ddoethineb gael ei arddangos yn yr holl restrau, a'i weled yn yr amlygiadau oeddynt yn dilyn naill y llall mór hynod. Pe buasai yr holl ogoniant sydd yn ymddangos yn y dygwyddiadau hyn yn cael ei amlygu ar unwaith, buasai yn ormod i ni; buasai yn dallu ein golygon, ac yn fwy nac a allasem ni gynnwys.

2. Y *mae yr oruchafiaeth ar Satan yn fwy gogoneddus.* Gallasai Duw yn hawdd, trwy weithred hollalluog, ddryllio Satan ar unwaith; ond trwy roddi iddo amser i ddefnyddio ei holl gyfrwysdra i attal llwyddiant effeithiau yr hyn a wnawd ac a ddyoddefwyd gan Grist, nid ydyw yn cael ei orchfygu yn unig trwy ruthr diarwybod iddo, ond y mae yn cael cyfleusderau helaeth i ddefnyddio ei holl gyfrwysdra a'i allu drachefn a thrachefn, i gryfhau cymaint ag a allai ar ei achos trwy waith llawer o oesoedd. Fel hyn y mae Duw yn ei ddyrysu ac yn ei ddinystrio, ac yn codi i fyny deyrnas Crist amser ar ol amser, er gwaethaf ei holl ddichellion a'i weithredoedd mawrion, a thrwy bob symudiad y mae yn ei chodi yn uwch uwch, nes ydyw o'r diwedd yn cael ei chyflawn sefydlu, a Satan yn cael ei orchfygu yn

hollol a thragywyddol.—Yr wyf yn awr yn dyfod yn mlaen i sylwi ar y dygwyddiadau neillduol hyny, trwy ba rai y mae llwyddiant prynedigaeth Crist wedi cael, neu i gael, ei gyflawnu, o orpheniad ei ymddarostyngiad ef hyd ddiwedd y byd.

II. *Y modd yr addaswyd Crist i gwblhau dyben ei Brynedigaeth.*

Fel yr oedd cnawdoliaeth Crist yn anghenreidiol mewn trefn i'w wneyd yn gyfaddas i *bwrcasu* prynedigaeth; felly yr oedd ei *adgyfodiad* a'i *esgyniad* yn ofynol mewn trefn i *lwyddo* ei bwrcas.

I. Ei *adgyfodiad.* Yr oedd yn anghenreidiol i Grist adgyfodi oddiwrth y meirw, mewn trefn i gyrhaedd dyben ac effaith pwrcasiad y prynedigaeth. Yr oedd Duw y Tad wedi rhoddi holl waith y prynedigaeth i'w Fab, fel y byddai iddo nid yn unig ei bwrcasu fel offeiriad, ond ei ddwyn oddiamgylch yn weithredol fel brenin; ac y byddai iddo wneyd hyn fel Duw-dyn. Nid oedd gan Dduw y Tad ddim i'w wneyd â dyn syrthiedig mewn ffordd o drugaredd ond trwy gyfryngwr. Eithr mewn trefn i Grist ddwyn yn mlaen lwyddiant ei brynedigaeth ei hun megys Duw-dyn, yr oedd yn anghenreidiol iddo adgyfodi oddiwrth y meirw. Gan hyny y mae Crist, wedi iddo orphen y pwrcas hwn trwy angau, yn adgyfodi oddiwrth y meirw, er cyflawnu dyben ei bwrcas. Yr oedd Duw y Tad wedi cyflwyno y gwaith hwn iddo ef, fel y byddai iddo, megys Arglwydd pawb, drefnu pob peth i ddwyn yn mlaen ei fwriadau ei hun. Rhuf. 14. 9. "Oblegyd er mwyn hyn y bu Crist farw, ac yr adgyfododd, ac y bu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd."

Yn wir yr oedd adgyfodiad Crist (ac felly hefyd ei esgyniad) yn rhan o lwyddiant yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd yn ei ymddarostyngiad. Er na ddarfu Crist yn briodol bwrcasu *prynedigaeth* iddo ei hun, eto efe a bwrcas-

odd *fywyd a gogoniant tragywyddol* iddo ei hun, megys gwobr am yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd. Phil. 2. 8, 9. "Efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angau, ie, angau y groes. O herwydd paham, Duw a'i tra-dyrchafodd yntau." Ac fe ellir edrych ar hyn fel rhan o lwyddiant pwrcas Crist, gan na ddarfu efe adgyfodi fel person *anghyhoedd*, ond megys *pen* ei eglwys; oblegyd yr oeddynt hwy oll, fel pe buasai, yn adgyfodi gydag ef. Yr oedd Crist yn cael ei gyfiawnhau yn ei adgyfodiad, a Duw trwy hyny yn ei ryddhau ef, gan ei fod wedi gwneuthur a dyoddef digon dros bechodau ei holl bobl. Rhuf. 4. 25. "Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni." A Duw a roddodd iddo feddiant o fywyd tragywyddol, fel pen yr eglwys, ac megys gwystl sicr y byddai iddynt hwythau ganlyn. Canys yr oedd adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw yn ddechreuad bywyd tragywyddol ynddo ef. Bywyd marwol oedd ei fywyd ef cyn ei angau, bywyd amserol; ond wedi ei adgyfodiad yr oedd yn fywyd tragywyddol. Rhuf. 6. 9. "Gan wybod nad yw Crist, yr hwn a gyfodwyd oddiwrth y meirw, yn marw mwyach; nad arglwyddiaetha marwolaeth arno mwyach." Dat. 1. 18. "A'r hwn wyf fyw, ac a fum farw; ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen." Ond rhoddwyd iddo ef feddiant o'r bywyd tragywyddol hwn, fel pen y corff; fel y mae yr holl eglwys megys yn adgyfodi ynddo ef. Ac yn bresennol nid ydyw ef, yr hwn a ddyoddefodd gymaint yn ddiweddar, i ddyoddef dim byth mwyach, ond efe a aeth i mewn i ogoniant tragywyddol.

Adgyfodiad Crist oedd y mwyaf *gorfoleddus* o'r holl ddygwyddiadau; oblegyd trwy hyn y cafodd orphwysdra oddiwrth y gwaith mawr a dyrys o bwrcasu prynedigaeth, ac y derbyniodd dystiolaeth Duw ei fod wedi ei orphen. Marwolaeth Crist oedd y mwyaf a'r rhyfeddaf o ddygwyddiadau, ond yr oedd ynddi lawer o bethau gofidus. Eithr trwy adgyfodiad Crist, cafodd y gofidiau hyn eu troi yn llawenydd. Y mae Pen yr eglwys, trwy y dygwyddiad mawr hwn, yn myned i mewn i feddiannu bywyd tragywyddol;

a'r holl eglwys megys yn cael ei "hadgenedlu i obaith bywiol." 1 Pet. 1. 3. Arosasai wylofain dros brydnawn, ond erbyn y boreu daeth gorfoledd. Hwn yw dydd ei deyrnasiad fel pen yr eglwys, ac y mae yr holl eglwys yn teyrnasu gydag ef. Yr oedd y dydd hwn yn teilyngu cael ei gadw mewn coffadwriaeth yn y modd mwyaf gorfoleddus. Salm 118. 24. "Dyma y dydd a wnaeth yr Arglwydd; gorfoleddwn a llawenychwn ynddo." Ac am hyny, mae y dydd hwn, uwchlaw pob diwrnod arall, wedi ei nodi allan i gael ei sancteiddio yn wythnosol megys dydd o orphwysdra a llawenydd sanctaidd, hyd ddiwedd y byd, fel y byddo i'r eglwys ynddo gydorphwys a chydlawenychu â'i Phen. Ac megys mai y drydedd bennod o Genesis yw y fwyaf galarus yn y Bibl, felly y gellir edrych ar y pennodau hyny yn yr efengylwyr ag sydd yn rhoddi yr hanes am adgyfodiad Crist, fel y rhai mwyaf gorfoleddus ynddo. Mae y rhai hyn yn rhoddi hanes am orpheniad pwrcas y prynedigaeth, a dechreuad gogoneddiad Pen yr eglwys, megys y sêl a'r ernes mwyaf o ogoneddiad tragywyddol ei holl aelodau.

Y mae i'w sylwi yn mhellach, fod dydd yr efengyl yn fwyaf priodol yn dechreu gydag adgyfodiad Crist. Yr oedd goruchwyliaeth yr Hen Destament yn parhau hyd onid adgyfododd Crist oddiwrth y meirw: eithr y mae hi yn awr yn pallu, gan fod pob peth oedd yn cael eu gosod allan yn ordinhadau cysgodol yr oruchwyliaeth hono wedi eu cyflawnu. Yma yn fwyaf priodol y mae nos yr Hen Destament yn diweddu; ac yr oedd adgyfodiad Crist o'r bedd gyda gorfoledd a gogoniant, yn gyffelyb i godiad haul wedi nos faith o dywyllwch, yn gwneyd ei ymddangosiad mewn dysgleirdeb gorfoleddus i oleuo y byd. Y mae yr oruchwyliaeth orfoleddus hono yn awr yn dechreu, yr oruchwyliaeth ogoneddus y tystiolaethodd y prophwydi gymaint am dani. Yn awr y cyfododd Haul yr efengyl yn ei ogoniant, "â meddyginiaeth yn ei esgyll," fel y byddai i'r rhai hyny sydd yn ofni enw Duw fyned "allan a chynyddu megys lloi pasgedig."

II. *Esgyniad* Crist i'r nef. Wrth ymdrin â hyn cymeraf i mewn ei eisteddiad ar ddeheulaw Duw. Canys nid oedd esgyniad Crist yn ddim namyn ei ddyrchafiad ar ddeheulaw Duw mewn gogoniant. Mae gwaredwr pobl megys eu brenin, er mwyn gosod ei hun yn y sefyllfa fwyaf cymhwys i hyny, yn cael ei sefydlu yn gyntaf yn ei orseddfaingc. Dywedir i ni i Grist gael ei ddyrchafu i'r dyben hwn, fel y byddai iddo trwy hyny gyrhaedd llwyddiant y prynedigaeth. Act. 5. 31. "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau."

Esgyniad Crist i'r nef, fel ped fuasai, oedd ei goroniad parchus a difrifol, pan y gosodwyd ef gan ei Dad ar yr orsedd, ac yr urddwyd ef ganddo â gogoniant y deyrnas a brynasai iddo ei hun, fel y byddai iddo trwy hyny dderbyn llwyddiant ei deyrnas, a buddugoliaethu ar ei holl elynion. Salm 110. 1. "Eistedd ar fy neheulaw hyd oni osodwyf dy elynion yn faingc i'th draed." Aeth Crist i'r nefoedd mewn trefn i dderbyn llwyddiant ei brynedigaeth, megys y byddai yr archoffeiriad gynt, wedi yr offrymai yr aberth, yn arfer myned i mewn i'r sanctaidd sancteiddiolaf gyda gwaed yr aberth, i'r dyben o dderbyn llwydd yr aberth a offrymasai. Heb. 9. 12. Aeth Crist i mewn i'r nefoedd, i eiriol yno dros ei bobl, ac i ddadleu am lwyddiant ei achos ar sail yr aberth a roddasai. Heb. 7. 25. Ac fel yr esgynodd efe i'r nefoedd, Duw y Tad a'i gosododd ef mewn modd gweledig ar yr orsedd megys Brenin y bydysawd. Yna efe a osododd yr holl angelion dano ef, ac a wnaeth nefoedd a daear yn ddarostyngedig iddo, fel y byddai iddo eu llywodraethu er llesâd ei bobl, tros ba rai y buasai farw. Eph. 1. 20—22. A phan adgyfododd Crist oddiwrth y meirw, efe a esgynodd i'r nefoedd, fel pen y corff, a rhagredegwr yr holl eglwys; ac y maent hwythau megys yn esgyn gydag ef; fel yr ydym ni ac yntau yn cael ein cyd-ddyrchafu, a'n gosod i gyd-eistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist. Eph. 2. 6.

Yr oedd dydd esgyniad Crist yn ddiamheuol yn ddydd

gorfoleddus a gogoneddus yn y nefoedd. A phan dderbyniodd y nefoedd Grist, y Duw-dyn, fel ei brenin, mae yn ddiamheu iddi dderbyn ychwanegiad mawr at ei gogoniant a'i dedwyddwch. Felly y mae yr amser yn nwy ran yr eglwys, y rhan sydd yn y nefoedd, a'r un sydd ar y ddaear, yn dyfod yn fwy gogoneddus er darostyngiad Crist nac o'r blaen. Gall hyn fod yn ddigonol mewn perthynas i'r pethau, trwy ba rai y gosodwyd Crist yn y sefyllfa oreu i gyrhaedd llwyddiant y prynedigaeth.

### III. *Moddion Sefydledig Llwyddiant.*

Deuaf yn awr i ystyried y goruchwyliaethau rhagluniaethol hyny, trwy ba rai y sefydlwyd *moddion y llwyddiant hwn* wedi adgyfodiad Crist.

I. Dyddimiad yr *oruchwyliaeth Iuddewig*. Hyn yn wir a wnaed yn raddol, ond dechreuasai yn amser adgyfodiad Crist, yn yr hyn y mae ei dyddimiad yn seiliedig. Canys nid oedd yr oruchwyliaeth *Iuddewig* wedi ei chymhwyso at arferiad cyffredinol y byd, nac eglwys Dduw yn preswylio yn mhob rhan o'r ddaear. Buasai yn annichonadwy i ddynion yn trigiannu yn mhob parth o'r byd fyned i fyny i Ierusalem dair gwaith yn y flwyddyn, yn ol gorchymyn y cyfansoddiad hwnw. Gan hyny pan fwriadodd Duw helaethu ei eglwys, fel y gwnaeth wedi adgyfodiad Crist, yr oedd yn anghenreidiol i'r oruchwyliaeth yma gael ei dyddimu. Buasai ei pharhad yn rhwystr mawr i ehangiad yr eglwys. Heblaw hyn, yr oedd y ddeddf seremonïol, o herwydd ei gormes a neillduolrwydd rhai o'i defodau, yn fath o wahan-fur rhwng yr Iuddewon a'r Cenedloedd, a buasai yn cadw y Cenedloedd rhag cydsynio â'r wir grefydd. Y gwahan-fur yma gan hyny a dynwyd i lawr i wneyd ffordd i helaethach llwyddiant yr efengyl. Eph. 2. 14, 15.

II. Ymddengys mai y peth nesaf o ran trefn amser, oedd sefydliad y *Sabboth Cristionogol*. Er i hyn gymeryd lle yn raddol yn yr eglwys Gristionogol, eto y pethau hyny,

trwy ba rai y datguddir meddwl ac ewyllys Duw, a ddechreuasant ar ddydd adgyfodiad Crist, trwy ei ymddangosiad y pryd hyny i'w ddysgyblion. Ioan 20. 19. Ac fe gadarnhäwyd y sefydliad yma drachefn, trwy iddo ef ymddangos o amser i amser ar y dydd hwnw yn hytrach nac un diwrnod arall, (Ioan 20. 26;) trwy ei fod wedi anfon yr Ysbryd Glan mór hynod ar y diwrnod hwnw, (Act. 2. 1;) a thrwy iddo wedi hyny gyfarwyddo y Cristionogion i gynnal eu haddoliad cyhoeddus ar y dydd hwnw, fel y gellir casglu oddiwrth Act. 20. 7; 1 Cor. 16. 1, 2; a Dat. 1. 10. Ac felly y mae y diwrnod o'r wythnos yr adgyfododd Crist oddiwrth y meirw, y dydd gorfoleddus hwnw, wedi ei ordeinio i fod yn ddydd o orfoledd sanctaidd i'r eglwys hyd ddiwedd y byd, ac yn ddydd eu haddoliad cyhoeddus sefydledig. Ac y mae hyn wedi bod yn beth mawr ac yn brif foddion y llwyddiant nodedig a gafodd yr efengyl yn y byd.

III. Y peth nesaf oedd sefydliad *gweinidogaeth yr efengyl* gan Grist, trwy ddirprwyo ac anfon allan ei ddysgyblion i ddysgu a bedyddio yr holl genedloedd. Mat. 28. 19, 20. "Ewch gan hyny a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan; gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi. Ac wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Trwy yr un gorchymyn hwn a roddwyd gan Grist i'w apostolion, yr oedd tri pheth yn cael eu gwneyd, sef:

1. Sefydlu *swydd* gwenidogaeth yr efengyl. Canys y mae y gorchymyn hwn a roddes Crist i'w apostolion, yn y rhan fwyaf hanfodol o hono, yn perthyn i bob gweinidog; ac yr oedd yr apostolion, trwy rinwedd yr awdurdod a gynnwysai, yn weinidogion neu henuriaid yr eglwys.

2. Y mae rhywbeth neillduol yn y genadwri hon: myned allan *oddiwrth un genedl at y llall*, gan bregethu yr efengyl trwy yr holl fyd. Yr oedd gan yr apostolion rywbeth uwchlaw eu nodweddiad cyffredin fel gweinidogion y gair; yr oedd ganddynt awdurdod anghyffredin i ddysgu a llyw-

odraethu, yr hyn oedd yn cyrhaedd i'r holl eglwysi; ac nid yn unig yr holl eglwysi oeddynt yn bodoli y pryd hwnw, ond yr oll a fyddai hyd ddiwedd y byd trwy eu gweinidogaeth hwy. Ac felly yr oedd yr apostolion, mewn modd îs-osodedig i Grist, yn cael eu gwneuthur yn sylfeini yr eglwys Gristionogol. Gwel Eph. 2. 20; a Dat. 21. 14.

3. Y mae yma ordeiniad *bedydd* Cristionogol. Cawsai yr ordinhad hon yn wir ddechreuad o'r blaen. Yr oedd Ioan Fedyddiwr a Christ yn bedyddio. Ond yn awr yn enwedig trwy y gosodiad hwn y mae yn cael ei sefydlu fel ordinhad i'w chynnal yn yr eglwys Gristionogol hyd ddiwedd y byd. Yr oedd yr ordinhad o swper yr Arglwydd wedi ei sefydlu ychydig cyn croeshoeliad Crist.

IV. Y peth nesaf yw cynysgaeddu yr apostolion, ac ereill, â *doniau gwyrthiol* yr Ysbryd Glan; megys y dawn i lefaru â thafodau, iachâu y cleifion, prophwydo, &c. Fe dywalltwyd Ysbryd Duw yn helaeth gyda golwg ar hyn, fel yr oedd nifer mawr o'r Cristionogion trwy y byd, yn hen ac ieuangc, cystal a'r gweinidogion, wedi eu cynysgaeddu â hwynt; nid yn unig swyddogion a phersonau anrhydeddusach, ond hefyd gweision a morwynion, yn unol â phrophwydoliaeth Ioel, pen. 2. 28, 29; o'r hyn y mae yr apostol Petr yn cymeryd sylw, y byddai iddo gael ei gyflawnu dan yr oruchwyliaeth hon. Act. 2. 16.

Y fath oruchwyliaeth ryfeddol oedd hon! Ni roddasai Duw y fath anrhydedd i ond ychydig bersonau dan yr Hen Destament. Yr oedd Moses yn wir yn dymuno i holl bobl yr Arglwydd fod yn brophwydi, (Num. 11. 27—29;) ac yr oedd Ioshua yn tybied yn beth mawr fod Eldad a Medad yn prophwydo: ond yn awr gwelwn ddymuniad Moses wedi ei gyflawnu. Parhäodd y dawn hwn yn yr eglwys i gryn radd hyd ddiwedd yr oes apostolaidd, neu am y can' mlynedd cyntaf wedi genedigaeth Crist, yr hon gan hyny a elwir yn *oes y gwyrthiau.*

Yr oedd hyn yn foddion neillduol tuag at lwyddo yr efengyl, a sefydlu yr eglwys Gristionogol, nid yn unig

yn yr oes hono, ond trwy yr holl oesoedd hyd ddiwedd y byd. Canys wedi i Gristionogaeth fel hyn gael ei sefydlu trwy wyrthiau mewn rhan mór ëang o'r byd adnabyddus, yr ydoedd o herwydd hyny yn haws ei chadw mewn traddodiad; a thrwy gynorthwy y dóniau anghyffredin hyn o eiddo yr Ysbryd Glan, y galluogwyd yr apostolion, ac ereill, i ysgrifenu y Testament Newydd, i fod yn rhëol anffaeledig a gwastadol o ffydd ac ymarweddiad i'r eglwys. Ac y mae y gwyrthiau hyn a gofrestrwyd yn yr ysgrifeniadau hyny, yn brawf safadwy o wirionedd y grefydd Gristionogol i'r holl oesoedd.

V. Y peth nesaf yw y *datguddiad eglurach a chyflawnach a gafwyd o'r athrawiaethau gogoneddus hyny*, y rhai, dan yr Hen Destament, oeddynt yn cael eu datguddio yn aneglur. Yr athrawiaeth o iawn Crist a'i gyfiawnder, ei esgyniad a'i ogoneddiad, a threfn iachawdwriaeth, oedd, dan yr Hen Destament, i fesur helaeth, yn cael ei chuddio dan lén o bortrëadau a chysgodau, a datguddiedigaethau aneglurach, megys yr oedd Moses yn rhoddi gorchudd ar ei wyneb i guddio ei ddysgleirdeb; ond yn bresennol fe rwygwyd llén y deml oddifyny hyd i waered. Y mae Crist, gwrthgysgod Moses, yn ymddysgleirio, a'i wyneb yn ddiorchudd. 2 Cor. 3. 12, 13, 18. Y mae y dirgeledigaethau gogoneddus hyn yn awr yn cael eu datguddio yn eglur, y rhai oeddynt i fesur mawr wedi cael eu cadw yn ddirgel er dechreuad y byd. Eph. 3. 3—5. Rhuf. 16. 25. "Yn ol datguddiad y dirgelwch, yr hwn ni soniwyd am dano er dechreuad y byd, ac yr awrhon a eglurwyd." Col. 1. 26. "Sef y dirgelwch oedd guddiedig er's oesoedd a chenedlaethau, ond yr awrhon a eglurwyd i'w saint ef."

Fel hyn y mae Haul cyfiawnder, ar ol cyfodi, yn dechreu tywynu yn ddysglaer, ac nid trwy adlewyrchiadau egwan megys o'r blaen. Datguddiodd Crist, cyn ei farwolaeth, lawer o bethau yn fwy eglur nac y gwnaethpwyd erioed yn yr Hen Destament; ond nid oedd dirgeledigaethau mawrion prynedigaeth Crist, y cymod trwy ei farwolaeth, a'r

cyfiawnhad trwy ei gyfiawnder ef, wedi eu datguddio mór eglur cyn ei adgyfodiad. Y rheswm a rydd efe dros hyny yw, nad oedd am roddi gwin newydd mewn hen gostrelau; ac yn raddol y gwnaed hyn hyd yn nod wedi ei adgyfodiad. Yn ol pob tebygolrwydd, rhoddwyd llawer amlycach hyfforddiad iddynt yn bersonol gan Grist, wedi ei adgyfodiad, a chyn ei esgyniad; canys yr ydym yn darllen iddo aros gyda hwynt ddeugain niwrnod, gan lefaru wrthynt y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, (Act. 1. 3,) a'i fod wedi "agor eu deall hwy, fel y deallent yr ysgrythyrau." Luc 24. 45. Ond trwy y tywalltiad a roddwyd o'r Ysbryd Glan ar ddydd y Pentecost yn benaf y gwnaed y pethau hyn yn eglur, yn ol addewid Crist. Ioan 16. 12, 13. "Y mae genyf eto lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon. Ond pan ddêl efe, sef Ysbryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd." Y datguddiad eglur hwn o ddirgeledigaethau yr efengyl, fel y mae wedi ei draddodi, a drosglwyddwyd i ni yn benaf trwy ddwylaw yr apostol Paul, ac fe all plentyn, trwy ei ysgrifeniadau ef, ddyfod i wybod mwy am athrawiaethau yr efengyl, ar lawer o olygiadau, nac a wyddai y prophwyd mwyaf dan dywyllwch yr Hen Destament.

Fel hyn y gwelwn fod goleuni yr efengyl, yr hwn a ddechreuodd dywynu yn ddioed ar ol y cwymp, ac a gynyddodd yn raddol trwy holl oesoedd yr Hen Destament, wedi dyfod yn oleuddydd perffaith, a dysgleirdeb Haul cyfiawnder yn pelydru yn ei ogoniant dilén.

VI. Y peth nesaf y sylwaf arno yw, sefydliad swydd diaconiaid yn yr eglwys Gristionogol, am yr hyn y mae genym hanes yn y 6fed bennod o'r Actau, y rhai oeddynt i gymeryd gofal am arlwyaeth allanol aelodau eglwys Crist, ac i arfer y rhinwedd Gristionogol ardderchog hono, elusengarwch.

VII. Galwad, cymhwysiad, ac anfoniad yr apostol Paul. Hyn a ddechreuwyd yn ei dröedigaeth, fel yr oedd efe ar y ffordd i Ddamascus; ac yr oedd yn un o'r pethau mwyaf

a fu tuag at lwyddiant canlynol prynedigaeth Crist; canys fe fu mwy o lwyddiant ar lafur ac ysgrifeniadau yr apostol hwn, na'r holl apostolion ereill yn nghyd: efe a "lafuriodd yn helaethach na hwynt oll." Gan mai efe oedd apostol y Cenedloedd, felly, trwy ei weinidogaeth ef yn benaf, y galwyd hwy, ac y lledaenwyd yr efengyl trwy y byd. Ac efe a fu y prif foddion i ledaenu yr efengyl yn mysg ein cenedl ni cystal a chenedloedd ereill Ewrop; ac yr oedd yr Ysbryd Glan yn gwneyd mwy o ddefnydd o hono ef i ddatguddio athrawiaethau gogoneddus yr efengyl trwy ei ysgrifeniadau, er budd i'r eglwys yn mhob oes, nac o'r holl apostolion ereill.

VIII. Sefydliad cynghorau eglwysig, er penderfynu amrafaelion, a threfnu materion eglwys Crist, fel y desgrifir yn Act. 15. 6.

IX. *Traddodi y Testament Newydd i ysgrifen.* Ysgrifenwyd y Testament Newydd i gyd, oddyeithr efengylau Marc a Luc, a llyfr yr Actau, gan yr apostolion eu hunain, ar ol adgyfodiad Crist. Tybir i efengyl Marc gael ei hysgrifenu gan fab Mair, yn nhŷ yr hon yr oeddynt yn gweddïo dros Petr, lle y daeth ef, wedi ei ddwyn o'r carchar gan yr angel, ac y curodd wrth y drws. Act. 12. 12. "Ac wedi iddo gymeryd pwyll, efe a ddaeth i dŷ Mair mam Ioan, yr hwn oedd a'i gyfenw Marc, lle yr oedd llawer wedi ymgasglu yn nghyd, ac yn gweddïo." Yr oedd yn gydymaith i'r apostolion Barnabas a Phaul. Act. 15. 37. Mab ydoedd i chwaer Barnabas; ac fe ymddengys iddo fod am beth amser yn gydymaith i Paul. Col. 4. 10. "Y mae Aristarchus, fy nghyd-garcharor yn eich anerch; a Marc, nai Barnabas fab ei chwaer (am yr hwn y derbyniasoch orchymynion: os daw efe atoch, derbyniwch ef.)" Ymddengys ei fod mewn cyfrif mawr gan yr apostolion. fel y gwelir oddiwrth yr hyn a grybwyllwyd, ac hefyd oddiwrth Act. 12. 25: "A Barnabas a Saul, wedi cyflawnu eu gweinidogaeth, a ddychwelasant o Ierusalem, gan gymeryd gyda hwynt Ioan hefyd, yr hwn a gyfenwid Marc;" a'r Act. 13. 5: "A phan

oeddynt yn Salamis, hwy a bregethasant air Duw yn synagogau yr Iuddewon: ac yr oedd ganddynt hefyd Ioan yn weinidog;" ac 2 Tim. 4. 11. "Luc yn unig sydd gyda mi. Cymer Marc, a dwg gyda thi: canys buddiol yw efe i mi i'r weinidogaeth."

Yr oedd y neb a ysgrifenodd Luc a llyfr yr Actau, yn gydymaith mawr i'r Apostol Paul. Lleferir am dano megys pe buasai gydag ef yn y lle a grybwyllwyd ddiweddaf, ac y mae efe yn siarad am dano ei hun fel cyd-dramwyydd â Phaul yn ei deithiau, ac am hyny y mae yn llefaru yn y person lluosog cyntaf: *Nyni* a aethom i'r lle a'r lle; *nyni* a hwyliasom, &c. Yr oedd efe yn anwyl iawn gan yr apostol Paul; efe yw y physygwr anwyl y sonir am dano yn Col. 4. 14. Mae yr apostol yn rhestru Marc a Luc yn mysg ei gyd-weithwyr. Philemon, 24. "Marcus, Aristarchus, Demas, Lucas, fy nghyd-weithwyr."

Llyfrau y Testament Newydd ydynt naill ai hanesyddol, athrawiaethol, ai prophwydoliaethol. Y llyfrau *hanesyddol* ydynt ysgrifeniadau y pedwar efengylwr, y rhai ydynt yn rhoddi i ni yr hanes am Grist, ei waith yn pwrcasu prynedigaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad; ac Actau yr Apostolion, yr hwn sydd yn rhoddi hanes am y pethau mawrion a fuont yn foddion i sefydlu a lledaenu yr eglwys Gristionogol ar y cyntaf. Y llyfrau *athrawiaethol* ydynt yr epistolau, y rhan fwyaf o ba rai a gawsom ni oddiwrth yr apostol mawr, Paul. Ac y mae genym un llyfr *prophwydoliaethol*, yr hwn sydd yn cymeryd lle wedi i holl hanesyddiaeth y Bibl ddiweddu, ac yn rhoddi hanes am y dygwyddiadau, trwy ba rai y dygir yn mlaen waith mawr y prynedigaeth hyd ddiwedd y byd.

Tybir i'r holl lyfrau hyn gael eu hysgrifenu yn flaenorol i ddinystr Ierusalem, oddyeithr y rhai a ysgrifenwyd gan yr apostol Ioan, yr hwn a fu byw hwyaf o'r holl apostolion, ac a ysgrifenodd, fel y tybir, ar ol dinystr Ierusalem. I'r dysgybl anwyl hwn y rhoddodd Crist ddatguddiad o'r pethau rhyfeddol hyny oeddynt i gymeryd lle yn yr eglwys hyd

ddiwedd amser; ac efe a roddodd y llaw orphenol wrth ganon yr ysgrythyr, ac a seliodd y cyfan i fyny. Felly y mae canon yr ysgrythyr, y rhëol ysgrifenedig fawr a safadwy hono a ddechreuwyd tuag amser Moses, yn awr wedi ei chwblhau a'i sefydlu; ac y mae melldith wedi ei chyhoeddi yn erbyn y neb a ychwanego ati, neu a dyno ddim oddiwrthi. Ac felly holl foddion sefydledig gras a orphenwyd yn yr oes apostolaidd, neu yn flaenorol i farwolaeth yr apostol Ioan, ac y maent i barhau yn ddigyfnewid hyd ddydd y farn. Yr ydym cyn belled a hyn wedi ystyried y pethau hyny, trwy ba rai y rhoddwyd ac y sefydlwyd moddion gras yn yr eglwys Gristionogol.

IV. *Y modd y cafodd y Llwyddiant ei ddwyn yn mlaen.*

Yr amser pennodedig i fod yn ddydd gofidiau Sïon, sydd o adgyfodiad Crist hyd gwymp Anghrist. Y mae rhyw ran neu gilydd o'r eglwys, yn ystod y cyfnod hwn, dan erlidigaeth; ac y mae hyn yn wir am yr holl eglwys dros ran fawr o'r amser, neu, o'r hyn lleiaf, am gorff lluosog pobl Dduw. Am y tri chan' mlynedd cyntaf ar ol Crist, yr oedd yr eglwys yn gyffredinol mewn cyflwr tra gofidus, ac yn wrthddrych dirmyg ac erlidigaeth—yn gyntaf oddiwrth yr Iuddewon, ac wedi hyny oddiwrth y Paganiaid. Cafodd yr eglwys wedi hyn, o ddechreu amser Cystenyn, orphwysdra a llwyddiant am ennyd fechan: yr hyn a arddangosir yn Dat. vii., trwy yr angel yn dal y pedwar gwynt dros ychydig amser. Ond yn fuan wedi hyn, yr eglwys a ddyoddefodd erlidigaeth drachefn oddiwrth yr Ariaid. Wedi hyny, cyfododd Anghrist; a gyrwyd yr eglwys ar ffô i'r diffaethwch; cadwyd hi i lawr mewn cyflwr distadl, dirmygedig, a phoenydiol, am hir amser, cyn y diwygiad dan Luther ac ereill. Ac er amser y diwygiad, y mae yr eglwys wedi myned trwy erlidigaethau chwerwach nac a brofodd erioed cyn hyny. Ac er i ryw ranau o eglwys Dduw gael llonyddwch weithiau, eto, y mae y wir eglwys yn cael ei gorthrymu yn fawr gan ei gelynion hyd y dydd hwn, a rhai rhanau o honi

dan erlidigaethau tôr-calonus: ac nis gallwn lai na dysgwyl iddi barhau felly hyd gwymp Anghrist. Yna y daw y dydd a benwyd i lwyddiant yr eglwys ar y ddaear, amser gosodedig Duw i ddangos ewyllys da i Sïon, amser na bydd y saint yn cael eu cadw danodd gan annuwiolion, ond amser y byddant hwy yn cael teyrnasu, fel y dywedir, (Dat. 5. 10,) "A'r freniniaeth a roddir i saint y Goruchaf." Dan. 7. 27.

Arddangosir sefyllfa ddyoddefol yr eglwys yn yr ysgrythyr fel pe byddai mewn gwewyr, (Ioan 16. 20, 21, a Dat. 12. 1, 2,) yn ymdrechu i ymddwyn ar y gogoniant a'r llwyddiant a fydd wedi cwymp Anghrist, ac yna yr esgor hi ar ei mab. Mae yr amser trallodus a helbulus hwn yn faith i'r eglwys, er na bydd ei barhad ond byr mewn cydmariaeth â'i llwyddiant tragywyddol. Am hyny y dywedir ei bod, yn ystod y cystuddiau hyn, yn llefain, (Dat. 6. 10,) "Pa hyd, Arglwydd sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear." A dywedir i ni i "ŷnau gwynion gael eu rhoddi i bob un o honynt; a dywedwyd wrthynt, a'r iddynt orphwys eto ychydig amser, hyd oni chyflawnid rhif eu cydweision, a'u brodyr, y rhai oeddynt i gael eu lladd, megys ag y cawsent hwythau." Felly Dan. 12. 6. "Pa hŷd fydd hyd ddiwedd y rhyfeddodau hyn?"

Y mae i'w sylwi, mai y prif achos o'r dyoddefiadau hyn i'r eglwys, yn yr yspaid yma, oedd y llywodraeth Rufeinig. Gan hyny gelwir Rhufain yn y Testament Newydd (Dat. 17. 5) yn Fabilon, oblegyd fel yr oedd trallodau Ierusalem gynt oddiwrth y ddinas wrthwynebus hono, felly y mae trallodau yr eglwys Gristionogol, y Ierusalem ysbrydol, yn ystod ei chystudd hirfaith, gan mwyaf o Rufain. Yr oedd yr eglwys Gristionogol, yn flaenorol i amser Cystenyn, yn cael ei thrallodi gan Rufain Baganaidd; ac wedi hyny ei thrallodau ydynt gan mwyaf oddiwrth Rufain Anghristaidd. Ac megys yr oedd caethiwed yr Iuddewon gynt yn darfod gyda dinystr Babilon, felly y derfydd amser trallodus yr eglwys Gristionogol gyda dinystr eglwys Rufain, y Babel ysbrydol.

## PENNOD I.

*O Adgyfodiad Crist hyd ddinystr Ierusalem.*

WRTH lefaru am lwyddiant prynedigaeth Crist yn ystod y cyfnod hwn, sylwaf, yn 1af, Ar y llwyddiant ei hun; yn 2il, Y gwrthwynebiad a gafodd oddiwrth ei elynion; ac, yn 3ydd, Y barnedigaethau dychrynllyd oddiwrth Dduw a oddiweddasant y gelynion hyny.

I. Y *llwyddiant ei hun.* Yn fuan wedi i Grist fyned i mewn i'r cysegr sancteiddiolaf trwy ei waed ei hun, dechreuodd llwyddiant gogoneddus ar yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd. Ar ol cloddio dan sylfaeni teyrnas Satan, hi a ddechreuodd syrthio yn brysur. Yr oedd ei hadfeiliad mór gyflym, fel y gellir yn briodol ei gyffelybu i Satan yn syrthio fel mellten o'r nefoedd. Yr oedd Satan wedi dyrchafu ei orseddfaingc yn dra uchel yn y byd hwn, cyfuwch hyd yn nod â ser y nefoedd, ac yn teyrnasu gyda rhwysg dirfawr yn ei ymherodraeth Baganaidd Rufeinig; ac ni chawsai erioed y fath gwymp ag a gafodd yn fuan wedi esgyniad Crist. Gallwn dybied iddo orfoleddu yn marwolaeth Crist, fel y fuddugoliaeth fwyaf a ennillasai erioed; ac yr ydoedd yn dychymygu efallai iddo lwyr ddymchwelyd amcanion Duw. Eithr efe a ddaeth yn fuan yn deimladwy nad oedd yr hyn a wnaethai ond anafu ei deyrnas ei hun, pan ganfu hi yn dechreu syrthio mór brysur mewn canlyniad i farwolaeth Crist. Canys wedi i Grist esgyn, a derbyn yr Ysbryd Glan, efe a'i tywalltodd ef yn helaeth, er tröedigaeth miloedd a miliynau o eneidiau.

Ni buasai erioed y fath gynydd ar deyrnas Crist. Efallai i fwy o eneidiau gael eu dychwelyd yn oes yr apostolion nac o ddechreuad y byd hyd yr amser hwnw. Fel hyn y dechreuodd Duw yn ddioed gyflawnu ei addewid ogoneddus i'w Fab, y byddai iddo weled ei had, ac y byddai i ewyllys yr

Arglwydd lwyddo yn ei law ef, os rhoddai ei enaid yn aberth dros bechod. Ac yn

1. Sylwn yma ar y llwyddiant a gafodd yr efengyl yn mhlith yr *Iuddewon;* canys Duw a ddechreuodd gyda hwy. Pan o gylch gwrthod y rhan fwyaf o'r genedl hono, y mae efe yn gyntaf yn galw ei etholedigion o'u mysg hwy. Felly y buasai gyda barnedigaethau arswydus a thrymion Duw ar y genedl hono yn flaenorol: byddai y corff o honynt yn cael eu dinystrio, a dim ond gweddill eu harbed neu eu dychwelyd. Gwrthodwyd corff y deg llwyth pan ymadawsant âg addoliad y gwir Dduw yn amser Ieroboam, ac yn enwedig yn amser Ahab; ond eto fe gadwyd gweddill o honynt. Gadawodd llawer eu meddiannau yn mhlith y llwythau hyny, ac ymsefydlasant yn mysg llwythau Iudah a Beniamin; ond yr oedd yn amser Ahab saith mil, y rhai ni phlygasant eu glin i Baal. O'r rhai a gaethgludwyd i Babilon, gweddill yn unig a ddychwelasant yn ol i'w gwlad eu hunain. Felly yn awr, y rhan fwyaf o'r bobl a wrthodwyd yn hollol, ond fe gafodd rhyw ychydig eu hachub. Ac y mae yr Ysbryd Glan yn cydmaru yr ychydig nifer yma, a achubwyd trwy bregethiad yr efengyl, i'r gweddilliadau blaenorol hyny. Rhuf. 9. 27. "Hefyd y mae Esaias yn llefain am yr Israel, Cyd byddai nifer meibion Israel fel tywod y môr, gweddill a achubir." Gwel Esa. 10. 22.

Llwyddiant gogoneddus yr efengyl yn mysg yr Iuddewon wedi esgyniad Crist, a ddechreuodd trwy dywalltiad yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost. Act. ii. Yr oedd y tywalltiad hwn mór rhyfeddol fel yr ydym yn darllen am ddychweliad tair mil at y ffydd Gristionogol mewn un dydd. Act. 2. 41. Ac wedi hyn, yr Arglwydd a ychwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai a fyddent gadwedig. Yn fuan ar ol hyn yr oedd eu nifer yn nghylch pum' mil. Nid yn unig fe gafodd lluaws fel hyn eu dychwelyd, ond yr oedd yr eglwys yn enwog mewn duwioldeb, fel yr ymddengys oddiwrth Actau 2. 46, 47, a 4. 32.

Ffurfiwyd yr eglwys Gristionogol fel hyn ar y cyntaf o

genedl Israel; a phan alwyd y Cenedloedd, *ychwanegwyd* hwy at yr eglwys Gristionogol Iuddewig, fel y proselytiaid gynt at eglwys Fosenaidd Israel. Yr oeddynt yn cael eu himpio yn nghyff Abraham, ac nid oeddynt bren gwahanol: yr oeddynt oll o had Abraham ac Israel o hyd; megys yr oedd Ruth y Foabes, ac Urïas yr Hethiad, a phroselytiaid ereill gynt, yn cael eu cyfrif yr un bobl ac o had Israel.

Yr eglwys Gristionogol a gafodd ei dechreuad yn Ierusalem, ac oddiyno y lledaenwyd hi i fysg yr holl genedloedd; felly yr oedd yr eglwys hono yn Ierusalem yn fam i'r holl eglwysi ereill drwy y byd, yn ol y brophwydoliaeth yn Esa. 2. 3, 4: "Canys y gyfraith a â allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Ierusalem: ac efe a farna rhwng y cenedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer." Felly y mae yr holl eglwys o hyd yn Ierusalem ysbrydol i Dduw.

Wedi hyn yr ydym yn darllen i lawer o filoedd o Iuddewon gredu yn Ierusalem, (Act. 21. 20,) cystal ag yn ninasoedd ereill Iudea, ac mewn parthau ereill o'r byd. O blegyd arferiad yr apostolion oedd myned yn gyntaf i synagogau yr Iuddewon, a phregethu yr efengyl iddynt hwy; a llawer o honynt yn y naill le a'r llall a gredasant, megys Damascus, Antiochia, ac amrywiol fanau ereill.

Gyda'r tywalltiad hwn o'r Ysbryd ar ddydd y Pentecost, y dechreuodd y gyntaf o'r goruchwyliaethau mawrion hyny a elwir *yn ddyfodiad Crist yn ei deyrnas.* Arddangosir dyfodiad Crist fel hyn yn ysbrydol i osod ei deyrnas i fyny yn y byd, megys pe buasai yn dyfod i lawr o'r nefoedd, lle yr esgynasai. Ioan 14. 18. "Nis gadawaf chwi yn amddifad: mi a ddeuaf atoch chwi." Ac yn adn. 28. "Clywsoch fel y dywedais wrthych, Yr wyf yn myned ymaith, ac mi a ddeuaf atoch." Ac fel hyn y dechreuodd yr apostolion weled teyrnas nefoedd yn dyfod mewn grym, fel yr addawsai efe iddynt. Marc 9. 1.

2. Wedi i lwyddiant yr efengyl ddechreu mór ogoneddus yn mysg yr Iuddewon, yn nesaf fe dywalltwyd Ysbryd Duw yn rhyfeddol ar y *Samariaid*, y rhai oeddynt hiliog-

aeth y bobl a symudasai brenin Assyria o wahanol barthau ei lywodraeth, ac a sefydlwyd ganddo yn y tir a breswylid gan y deg llwyth, y rhai a gaethgludasai efe. Yr oedd y rhai hyn wedi derbyn pum' llyfr Moses, ac yn ymarfer â'r rhan fwyaf o'r defodau Mosenaidd, ac felly yn fath o *Iuddewon cymysglyd.* Nid ydym yn canfod eu bod yn cael eu cyfrif fel Cenedloedd yn y Testament Newydd: canys y mae galwad y Cenedloedd yn cael son am dano ar ol hyn fel peth newydd, yr hyn a ddechreuodd gyda thröedigaeth Cornelius. Ond eto yr oedd yn arwydd o wneuthur yn bobl rai nid oeddynt bobl; canys yr oeddynt wedi llygru crefydd Moses, ac nid oeddynt yn myned i fyny i Ierusalem i addoli. Yr oedd ganddynt hwy deml arall o'r eiddynt eu hunain ar fynydd Gerizim; yr hwn ydyw y mynydd y soniai y wraig o Samaria am dano, pan y dywedodd, "Ein tadau a addolasant yn y mynydd hwn." Nid ydyw Crist yno yn cymeradwyo eu hymddidoliad oddiwrth yr Iuddewon; ond efe a ddywedodd eu bod yn addoli y peth nis gwyddent, ac mai o'r Iuddewon yr oedd iachawdwriaeth. Ond yn awr y mae iachawdwriaeth yn cael ei dwyn oddiwrth yr Iuddewon atynt hwy, trwy weinidogaeth Philip, (oddyeithr yr ychydig lwyddiant a gawsai Crist yn flaenorol yn eu mysg.) gyda phregethiad yr hwn y bu tywalltiad gogoneddus o Ysbryd Duw yn ninas Samaria; lle y dywedir i ni fod y bobl yn credu i "Philip yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, a'u bedyddio hwy yn wyr ac yn wragedd;" a bod llawenydd mawr yn y ddinas. Act. 8. 8—12.

Cafodd Crist fel hyn gynhauaf gogoneddus yn ninas Samaria; yn unol â'r hyn a ddywedasai wrth ei ddysgyblion ger ffynnon Iacob, dair neu bedair blynedd yn ol, ar yr achlysur o ymddangosiad pobl Samaria encyd o ffordd yn y meusydd, yn dyfod rhyngddynt a'r fan lle yr oedd efe. Ioan 4. 35, 36. Yr oedd y duedd a amlygodd pobl Samaria tuag at Grist a'i efengyl, yn dangos eu bod yn barod i'r cynhauaf; ac yn awr mae y cynhauaf wedi dyfod

trwy bregethiad Philip. Yr oedd gelyniaeth o'r chwerwaf yn arfer bod rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid; ond yn awr, trwy eu dychweliad, yr oedd y Cristionogion Iuddewig a Samariaidd, wedi eu huno yn ddedwydd â'u gilydd; canys yn Nghrist Iesu nid oes nac Iuddew na Samariad, ond Crist oll yn oll. Yr oedd hyn yn esiampl ogoneddus o'r blaidd yn trigo gyda 'r oen, a'r llewpard yn gorwedd gyda 'r mýn. Esa. 11. 6.

3. Y peth nesaf i sylwi arno, ydyw *galwad y Cenedloedd.* Goruchwyliaeth fawr a gogoneddus oedd hon, yn cael son llawer am dani yn yr Hen Destament a chan yr apostolion. Dechreuwyd hi gyda thröedigaeth Cornelius a'i deulu, er mawr lawenydd i Petr, yr hwn a fuasai yn offeryn i hyn, a'r rhai oeddynt gydag ef. Act. 10. 11. Yr esiampl nesaf oedd dychweliad nifer mawr o Genedloedd yn Cyprus, Cyrene, ac Antiochia, trwy y dysgyblion a wasgarwyd yn yr erlidigaeth a fu pan labyddiwyd Stephan. Act. 11. 19—21. Ac yn ddioed wedi hyny y dechreuwyd galw y dysgyblion gyntaf yn Gristionogion yn Antiochia.

Wedi hyn fe ddychwelwyd lluoedd o Genedloedd yn ngwahanol barthau y byd, yn benaf trwy weinidogaeth yr apostol Paul, yr hyn a ddilynwyd â thywalltiad gogoneddus o'r Ysbryd. Yr oedd lluaws yn ymgasglu i eglwys Crist yn yr holl ddinasoedd bron, y deuai yr apostol iddynt. Felly yr oedd rhifedi aelodau Cenedlig yr eglwys Gristionogol yn fuan yn mhell tu hwnt i'w haelodau Iuddewig; ac yn mhen llai na deng mlynedd wedi hyn, cafodd Paul ei anfon allan o Antiochia i bregethu i'r Cenedloedd, a dywedid ei fod ef a'i gymdeithion wedi aflonyddu y byd, (yn ol y Seisonaeg, wedi troi tu uchaf y byd yn isaf.) Act. 17. 6. "Y rhai sydd yn aflonyddu y byd, y rhai hyny a ddaethant yma hefyd." Ond y tywalltiad hynotaf ydoedd hwnw yn y ddinas fawr Ephesus. Fe fu hefyd gasglu anghyffredin ar eneidiau i mewn yn Corinth, un o'r dinasoedd mwyaf yn nhir Groeg. Wedi hyny fe ddychwelwyd llawer yn Rhufain, prif ddinas y byd adnabydd-

us y pryd hwnw; ac fe daenwyd yr efengyl trwy holl ranau yr ymherodraeth Rufeinig. Fel hyn yr oedd yr Haul efengylaidd, yr hwn a gyfodasai yn ddiweddar ar yr Iuddewon, yn awr wedi cyfodi a dechreu llewyrchu ar y byd Paganaidd, wedi iddynt aros yn nhywyllwch dudew Paganiaeth am gynifer o oesoedd.

Yr oedd hyn yn beth mawr, ac ni buasai y fath erioed o'r blaen. Yr oedd yr holl genedloedd oddyeithr yr Iuddewon, wedi eu bwrw ymaith er oddeutu amser Moses. Yr oedd y byd Paganaidd wedi ei orchuddio â thywyllwch dudew eilun-addoliaeth; ond yn awr, wrth sain gorfoleddus yr efengyl, dechreuasant ymwrthod â'u heilunod, gan eu taflu i'r wadd a'r ystlumod. Dysgasant yn awr addoli y gwir Dduw, ac ymddiried yn ei Fab ef Iesu Grist. Arddelodd Duw hwy yn bobl iddo; a'r rhai a fuont cyhyd yn mhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist. Yr oedd dynion yn cael eu cyfnewid o fod yn baganaidd ac anifeilaidd, i fod yn blant i Dduw; ac yn cael eu galw allan o deyrnas dywyll Satan, a'u dwyn i'w ryfeddol oleuni ef. Yr oedd cynnulleidfäoedd Cristionogol yn yr holl wledydd bron trwy y byd adnabyddus, a chaniadau gorfoleddus o fawl yn cael eu cyflwyno i'r gwir Dduw, a Iesu Grist y Pryniawdwr gogoneddus. Yn awr yr oedd yr adeiladaeth fawr a ddechreuwyd gan Dduw yn fuan wedi cwymp dyn, yn cael ei chodi yn ogoneddus, ar ddull newydd; yn awr yr oedd prophwydoliaethau Daniel mewn perthynas i'r deyrnas ddiweddaf, yr hon oedd i ddilyn y pedair unbenaeth baganaidd, yn dechreu cael eu cyflawnu; yn awr y mae y gareg a dórwyd o'r mynydd, nid â llaw, yn dechreu taro y ddelw ar ei thraed, a'i dryllio yn chwilfriw, ac yn myned rhagddi i lenwi yr holl ddaear yn gyflym; ac y mae Duw yn awr yn casglu ei etholedigion yn nghyd o bedwar gwynt y nefoedd, trwy bregethiad yr apostolion a gweinidogion ereill, (angelion yr eglwys Gristionogol a anfonesid allan gyda mawr sain udgorn yr efengyl,) yn flaenorol i ddinystr Ierusalem, yn unol â'r hyn a ragddywedasai Crist. Mat. 24. 31.

II. Yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi ar y *gwrthwynebiad* a gafodd prynedigaeth Crist oddiwrth ei elynion. Satan, yr hwn yn ddiweddar oedd mór barod i orfoleddu ac ymddyrchafu, fel ped fuasai wedi ennill y fuddugoliaeth wrth roddi Crist i farwolaeth, yn awr yn canfod ei hun yn cwympo i'r pwll a gloddiasai, a'i deyrnas yn adfeilio yn brysur, a'r fath gynydd rhyfeddol oedd ar deyrnas Crist, a lanwyd â braw a syndod o'r mwyaf; ac fe ymddengys fod uffern wedi arswydo ac ymarfogi o ddifrif i wneyd y gwrthwynebiad creulonaf yn ei erbyn. Ac, yn gyntaf, fe gynhyrfodd y diafol yr Iuddewon, y rhai yn flaenorol a groeshoeliasant Grist, i erlid yr eglwys; canys y mae i'w sylwi, fod yr erlidigaeth a ddyoddefodd yr eglwys yn ystod y cyfnod hwn, gan mwyaf oddiwrth yr Iuddewon. Yr ydym yn darllen yn llyfr yr Actau, pan dywalltwyd yr Ysbryd Glan ar ddydd y Pentecost, fel yr oedd yr Iuddewon yn gwatwar, gan ddywedyd, "Llawn o win melus ydynt;" ac fel yr oedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, yn nghyda blaenor y deml, wedi brawychu, ac yn ymgynhyrfu i wrthwynebu yr apostolion. Yr oeddynt yn gyntaf yn eu dal, yna yn eu bygwth, ac wedi hyny yn eu carcharu a'u curo hwy; a chan chwythu allan fygythion a chelanedd yn erbyn dysgyblion yr Arglwydd, llabyddiasant Stephan â meini yn eu cynddaredd terfysglyd; ac heb fod yn foddlon ar erlid y rhai a gaent yn Iudea, hwy a anfonasant i Ddamascus, a manau pellenig ereill, gan erlid pawb a allent gael yn mhob lle. Yr oedd Herod, y penaf yn eu plith, yn estyn allan ei law i flino yr eglwys, a lladdwyd Iago ganddo â'r cleddyf, ac aeth rhagddo i gymeryd Petr hefyd, a bwriodd ef yn ngharchar.

Felly hefyd mewn gwledydd ereill, yn mhob man bron y deuai yr apostolion, yr Iuddewon oeddynt yn y modd mwyaf maleisus yn gwrthwynebu yr efengyl, gyda chroes ddadleuaeth a chableddau. Pa faint o bethau a ddyoddefodd y sanctaidd apostol Paul oddiar eu dwylaw! Mór greulon a gwaedlyd yr oeddynt yn ymddwyn tuag ato, pan

yr oedd efe yn dwyn elusen i'w genedl! Yn yr erlidigaeth a'r trychineb hwn, y cyflawnwyd y brophwydoliaeth hono o eiddo Crist, (Mat. 23. 34:) "Am hyny, wele, yr ydwyf yn anfon atoch brophwydi, a doethion, ac ysgrifenyddion: a rhai o honynt a leddwch ac a groeshoeliwch; a rhai o honynt a ffrewyllwch yn eich synagogau, ac a erlidiwch o dref i dref."

III. Y *barnedigaethau a oddiweddasant y gelynion hyny i Grist, sef yr Iuddewon erlidigaethus.*

1. Y nifer lluosocaf o'r bobl a roddwyd i fyny i dywyllwch barnol a chaledwch calon. Cyhoeddasai Crist y fath wae uwch eu penau yn nyddiau ei gnawd. Mat. 13. 14, 15. Yr apostol Paul hefyd a ail gyhoeddodd yr un wae i ddyfod arnynt, (Act. 28. 25—27,) a than y felldith hon, y tywyllwch barnol a'r caledwch yma y maent yn aros hyd y dydd hwn er ys tua dau gant ar bymtheg o flynyddau, yn gofnodau dychrynllyd o ddïaledd Duw, ac yn brawf o'r mwyaf aethus o'i farnedigaethau ef. Y mae eu cyndynrwydd parhaus yn dal i wrthod Crist, o genedlaeth i genedlaeth, fel nad ydyw dychweliad neb o honynt i'r ffydd Gristionogol ond peth anfynych—er fod eu hysgrifeniadau hwy eu hunain yn yr Hen Destament yn llawn o dystiolaethau amlwg yn eu herbyn—yn brawf nodedig o'u gadawiad aethus gan Dduw.

2. Gwrthodwyd hwy o fod mwyach yn bobl weledig i Dduw. Tórwyd hwy ymaith o gyff Abraham; ac er y pryd hwnw nid ydynt yn cael eu cyfrif yn had Abraham mwy na'r Ismaeliaid neu yr Edomiaid, y rhai ydynt eu had naturiol ef cystal a hwythau. Cafodd y rhan fwyaf o'r ddau lwyth eu bwrw ymaith yn awr, fel y cawsai y deg llwyth yn flaenorol; a chymerwyd pobl ereill i mewn yn eu lle, yn ol rhagddywediâdau eu prophwydi eu hunain. Deut. 32. 21. "Hwy a yrasant eiddigedd arnaf â'r peth nid oedd Dduw; digiasant fi â'u hoferedd: minau a yraf eiddigedd arnynt hwythau â'r rhai nid ydynt bobl; â chenedl ynfyd y digiaf hwynt." Esa. 65. 1. "Ceisiwyd fi gan y rhai nid ymofynasant am danaf; cafwyd fi gan y rhai ni'm ceisiasant."

Gwnaed eu gwrthodiad hwy yn amlwg, trwy i Dduw orchymyn i'w apostolion droi oddiwrthynt, a'u gadael yn llonydd. Act. 13. 46, 47. "Yna Paul a Barnabas a aethant yn hyf, ac a ddywedasant, Rhaid oedd llefaru gair Duw wrthych chwi yn gyntaf: eithr o herwydd eich bod yn ei wrthod, ac yn eich barnu eich hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol, wele, yr ydym yn troi at y Cenedloedd Canys felly y gorchymynodd yr Arglwydd i ni." Act. 18. 6, a 28. 28.

Hyd yma y mae genym hanesyddiaeth ysgrythyrol i'n cyfarwyddo: o hyn allan nid oes genym ond yn unig cyfarwyddyd prophwydoliaethau yr ysgrythyr a hanesyddiaeth ddynol.

3. Y drydedd farn a'r olaf a ddaeth oddiwrth Dduw ar elynion llwyddiant yr efengyl, y crybwyllaf am dani, ydyw dinystr arswydus eu dinas a'u gwlad gan y Rhufeiniaid. Cawsant fynych rybuddion, a defnyddiwyd llawer moddion gyda hwy, cyn i'r dinystr hwn eu goddiweddyd. Rhybuddiwyd hwy yn gyntaf gan Ioan Fedyddiwr, yr hwn a ddywedodd wrthynt fod y fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prenau; ac y byddai i bob pren na ddygai ffrwyth da gael ei dóri i lawr a'i daflu yn tân. Yna Crist a'u rhybuddiodd hwy yn neillduol iawn, ac a ddywedodd wrthynt fod eu dinystr yn ymyl, y meddwl am yr hyn a wnaeth iddo wylo drostynt. Ac yna yr apostolion, ar ol esgyniad Crist, a'u mynych rybuddiasant. Ond hwy a ymddygasant yn gyndyn, gan barhau yn wrthwynebwyr i Grist a'i eglwys, ac i arfer eu herlidiau chwerwon. Fe dybir nad oedd eu herlidigaeth faleisus ar yr apostol Paul, am yr hon y cawn hanes tua diwedd yr Actau, ychwaneg na saith neu wyth mlynedd cyn eu dinystr.

Wedi hyn rhyngodd bodd i Dduw roddi iddynt un rhybudd tra nodedig yn rhagor, trwy yr apostol Paul, yn ei Epistol at yr Hebreaid, yr hwn a ysgrifenwyd, fel y tybir, tua phedair blynedd cyn eu dinystr; ac ynddo y mae yn rhoddi y rhesym-

au egluraf a chadarnaf o'u blaen hwynt, allan o'u cyfraith a'u prophwydi hwy eu hunain, i ba rai y maent yn proffesu y parch mwyaf, i brofi bod yn rhaid mai Iesu Grist yw Mab Duw; a bod eu holl ddeddf hwy yn cyfeirio ato ef, ac yn ei gysgodi; a bod yn rhaid i'r oruchwyliaeth Iuddewig ddiflanu. Er fod yr epistol yn cael ei gyfeirio at yr Hebreaid Cristionogol yn fwyaf union-gyrchol; eto y mae ei sylwedd yn dangos yn eglur fod yr apostol yn ei fwriadu er defnydd ac argyhoeddiad i'r Iuddewon anghrediniol. Y mae efe yn yr epistol hwn yn crybwyll yn neillduol mór agos yw y dinystr. Pen. 10. 25. "A hyny yn fwy, yn gymaint a'ch bod yn gweled y dydd yn nesâu;" ac yn adnod 27, y mae efe yn llefaru am y farn sydd yn agosâu, "a'r angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr."

Ond gan i'r cyffredinolrwydd o honynt wrthod derbyn argyhoeddiad, Duw a'u dinystriodd hwy yn fuan trwy yr amgylchiadau mwyaf arswydus, fel na bu dinystr un wlad na dinas er dechreuad y byd yn gyffelyb i'r hyn a ddaeth arnynt hwy, yn ol yr hyn a ragddywedasai Crist. Mat. 24. 21. "Canys y pryd hwnw y bydd gorthrymder mawr, y fath ni bu o ddechreuad y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith." Yr oedd dinystr Ierusalem gan y Babiloniaid yn hynod o aethus, fel y mae yn cael ei ddarlunio yn y modd mwyaf effeithiol gan y prophwyd Ieremiah yn ei Alarnad; eithr nid oedd hyny ond megys dim i'r trueni ofnadwy, a'r digofaint a ddyoddefasant yn y dinystr hwn. Duw a ddygodd arnynt, megys y rhagfynegasai Crist, yr holl waed cyfiawn a dywalltwyd o sylfaeniad y byd. Fel hyn y gwnaed gelynion Crist yn droed-faingc i'w draed ef, ar ol ei esgyniad, yn unol âg addewid Duw, (Salm cx.;) ac y mae efe yn eu dryllio hwy â gwïalen haiarn. Y drain a'r mieri a osodasant yn ei erbyn ef mewn brwydr; ond efe a aeth trwyddynt; llosgodd hwynt yn nghyd.

Yr oedd y dinystr yma ar Ierusalem yn mhob ystyr yn cyfateb i'r hyn a ragddywedasai Crist, (Mat. xxiv.;) fel yr ymddengys oddiwrth yr hanes a rydd Iosephus am dano,

yr hwn oedd ei hun yn bresennol, yn gyfranog o'r blinderau, ac a ysgrifenodd hanes eu dinystr. Yr oedd llawer o'r amgylchiadau yn tebygoli i ddinystr yr annuwiolion yn nydd y farn; yr oedd yn cydfyned â'r dinystr hwn, yn ol yr hanes a rydd efe, lawer o olygfeydd dychrynllyd yn yr wybren, yn nghyda didoliad y cyfiawn oddiwrth y drygionus. Y ddinas a'r deml a losgwyd, ac a gydwastatäwyd â'r llawr, a'r ddaear y safai y ddinas arni a arddwyd, fel nas gadawyd careg ar gareg. Mat. 24. 2.

Peidiasai y bobl a bod yn wladwriaeth annibynol am y rhan fwyaf o'r amser wedi caethiwed Babilon; ond ar farwolaeth Archelaus, pan wnaed Iudea yn dalaith Rufeinig, y llwyr ymadawodd y deyrnwïalen o Iudah. Ar ol hyn, bwriwyd hwy ymaith o fod yn bobl i Dduw: ac yn awr fe hollol ddinystriwyd eu dinas a'u gwlad, a gyrwyd hwythau allan o honi; ac felly y maent wedi parhau yn wasgaredig trwy y byd er ys mwy nac un cant ar bymtheg o flynyddoedd.

Fel hyn y rhoddwyd diwedd terfynol i fyd yr Hen Destament: gorphenwyd y cyfan gyda math o ddydd barn, yn yr hwn y gwaredwyd pobl Dduw, ac y dystrywiwyd ei elynion mewn modd arswydus. Fel hyn y mae Crist, yr hwn oedd mór ddiweddar yn cael ei watwar, ei ddirmygu, a phoeri arno gan yr Iuddewon hyn, canlynwyr yr hwn hefyd a erlidiwyd ganddynt mór faleisus, yn ymddangos yn ogoneddus a dyrchafedig goruwch ei holl elynion.

---

## PEN. II.

*O Ddinystr Ierusalem hyd Amser Cystenyn.*

Ierusalem a ddinystriwyd tua'r flwyddyn wyth-a-thriugain o oed ein Harglwydd, ac felly cyn i'r genedlaeth oedd

yn cydoesi â Christ fyned heibio. Cymerodd dinystr yr ymherodraeth Baganaidd dan Cystenyn le yn nghylch dau gant a thriugain o flynyddoedd ar ol hyny. Wrth ddangos pa fodd y dygwyd yn mlaen lwyddiant yr efengyl yn ystod yr amser hwn, sylwaf, 1. Ar y gwrthwynebrwydd a wnaed iddi gan yr ymherodraeth Rufeinig; 2 Fel yr oedd yr efengyl yn llwyddo er gwaethaf yr holl wrthwynebiad; 3. Yr amgylchiadau cyfyng a thrallodus yr oedd yr eglwys ynddynt ychydig cyn eu gwaredigaeth gan Cystenyn; ac yn 4. Y chwyldröad hynod a gymerodd le yn ei amser ef.

I. Y gwrthwynebiad a wnaed yn erbyn yr efengyl, a breniniaeth Crist, *gan yr ymherodraeth Rufeinig.* Yr oedd y gwrthwynebrwydd hwn gan mwyaf ar ol dinystr Ierusalem, er iddo ddechreu cyn hyny; eithr yr oedd yr hyn a gymerodd le yn flaenorol i ddinystr Ierusalem gan mwyaf oddiwrth yr Iuddewon. Ond pan ddinystriwyd Ierusalem, nid oedd yr Iuddewon mwyach mewn sefyllfa i ddrygu yr eglwys; gan hyny y diafol a ddefnyddiodd offerynau ereill. Yr oedd y gwrthwynebrwydd a wnaed yn yr ymherodraeth Rufeinig i deyrnas Crist, yn benaf o ddau fath.

1. Yr oeddynt yn defnyddio eu holl ddysgeidiaeth, philosophiaeth a'u cyfrwysdra, i'w gwrthwynebu. Daeth Crist i'r byd mewn oes, yn yr hon yr oedd dysgeidiaeth a philosophyddiaeth yn eu huchder yn yr ymherodraeth Rufeinig. Nid oedd yr efengyl, yr hon oedd yn dal allan Iachawdwr croeshoeliedig, mewn un modd yn cyfateb i dybiau y philosophyddion. Yr oedd y ddyfais Gristionogol o ymddiried yn y fath Brynwr croeshoeliedig, yn ymddangos iddynt hwy yn ffolineb ac ynfydrwydd. Groeg oedd y wlad fwyaf ei dysg o unrhyw yn ymherodraeth Rhufain; ond y mae yr apostol yn sylwi fod yr athrawiaeth am Grist croeshoeliedig yn ymddangos i'r Groegiaid yn ffolineb, (1 Cor. 1. 23;) ac am hyny yr oedd y doethion a'r philosophyddion yn gwrthwynebu yr efengyl. Y mae genym enghraifft o ddull eu gwrthwynebiad, yn y driniaeth a gafodd yr apostol Paul ganddynt yn Athen, yr hon ydoedd, ac a fuasai am

lawer o oesoedd, yn brif orsaf philosophyddion yr holl fyd. Yr ydym yn darllen yn yr Act. 17. 18, i'r philosophyddion o'r Epicuriaid a'r Stoiciaid ei wrthwynebu, gan ddywedyd, "Beth a fynai y siaradwr hwn ei ddywedyd? a rhai, Tebyg yw ei fod yn mynegu duwiau dyeithr." Fel hyn yr oeddynt yn gwawdio ac yn diystyru Cristionogaeth; ac wedi dinystr Ierusalem, cyhoeddodd amryw o'r philosophyddion lyfrau yn ei herbyn. Y penaf o'r rhai hyn oeddynt Celsus a Porphyry, y rhai a ysgrifenasant yn hynod o lymdost a gwawdlyd, ac yn debyg iawn i Ddeistiaid yr oes bresennol. Er cymaint gelynion a dirmygwyr oeddynt o'r grefydd Gristionogol, ni ddarfu iddynt erioed wadu yr hanes a briodolir i Grist a'i apostolion yn y Testament Newydd, yn neillduol y gwyrthiau a wnaethant, ond yr oeddynt yn eu haddef. Yr oeddynt yn byw yn rhy agos i amseroedd y gwyrthiau hyn i'w gwadu; canys yr oeddynt wedi eu gwneuthur môr gyhoeddus ac môr ddiweddar, fel y mae yn ymddangos nad oedd Iuddewon na Phaganiaid yn y dydd au hyny yn ceisio eu gwadu; eithr yr oeddynt yn eu priodoli i allu swynol.

2. Defnyddiodd awdurdodau yr ymherodraeth Rufeinig eu holl allu, amser ar ol amser, i erlid, a phe buasai bosibl, i ddiwreiddio Cristionogaeth. Sylwasom o'r blaen i Grist ddyfod i'r byd pan yr oedd nerth y llywodraeth Baganaidd fwyaf dan yr unbenaeth Rufeinig. Cafodd holl allu yr unbenaeth hon ei ddefnyddio am amser maith i wrthwynebu ac erlid yr eglwys Gristionogol, ac i'w dystrywio pe buasai bosibl, trwy ddeg o ymdrechiadau olynol, y rhai a elwir *y deg erlidigaeth Baganaidd.*

Y *gyntaf* o'r rhai hyn oedd yr erlidigaeth a fu dan Nero, yr hon a gymerodd le ychydig cyn dinystr Ierusalem, pryd y croeshoeliwyd yr apostol Petr, ac y dienyddiwyd yr apostol Paul, yn fuan wedi iddo ysgrifenu ei ail epistol at Timotheus. Yr oedd yn garcharor gan Nero yn Rhufain pan ysgrifenodd yr epistol hwnw, ac y mae yn dywedyd, (pen. 4. 6, 7,) "Myfi yr awrhon a aberthir, ac amser fy ymddat-

todiad i a nesäodd. Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd." Fe ferthyrwyd llawer o filoedd o Gristionogion ereill yn ystod yr erlidigaeth hon. Y naw erlidigaeth arall a gymerasant le ar ol dinystr Ierusalem. Rhai o honynt yn wir oeddynt hynod o ddychrynllyd, ac yn llawer creulonach na 'r erlidigaeth gyntaf dan Nero. Ymosododd y naill ymherawdwr ar ol y llall, â'u holl allu, i ddiwreiddio yr eglwys Gristionogol oddiar y ddaear, fel na byddai i gymaint ag enw Cristion gael ei adael yn y byd. Miloedd, ïe, miliynau a roddwyd i farwolaethau creulawn; canys nid oeddynt yn arbed ystlen nac oedran.

Yn yr *ail* erlidigaeth gyffredinol, (dan Domitian,) yr hon oedd y gyntaf a fu ar ol dinystr Ierusalem, y dëolwyd yr apostol Ioan i ynys Patmos, lle y cafodd y gweledigaethau hyny a gofrestrwyd ganddo yn llyfr y Datguddiad. Tybir i tua deugain mil ddyoddef merthyrdod yn ystod yr erlidigaeth hono; yr hyn eto nid oedd ond ychydig mewn cydmariaeth i'r nifer a roddwyd i farwolaeth yn rhai o'r erlidigaethau dilynol. Dyoddefodd deng mil y farwolaeth greulawn o groeshoeliad, yn y *drydedd* erlidigaeth dan yr ymherawdwr Adrian. Dan y *bedwaredd* erlidigaeth, yr hon a ddechreuodd tua 'r flwyddyn o oed Crist 162, dyoddefodd amryw ferthyrdod yn Lloegr, gwlad ein cyndadau, lle y cawsai Cristionogaeth ei phlanu, fel y tybir, yn nyddiau yr apostolion. Ac yn yr erlidigaethau *diweddarach*, yr oedd yr ymherawdwyr Rhufeinig, yn ofidus o herwydd y siomedigaeth a gawsai eu hynafiaid, y rhai nid oeddynt alluog i ddiwreiddio Cristionogaeth na rhwystro cynydd ei llwyddiant, wedi ymgynddeiriogi i fod yn fwy creulawn yn eu hymdrechiadau.

Fel hyn y treuliwyd rhan fawr o'r tri chanrif cyntaf ar ol Crist, gan yr ymherodron Rhufeinig, i erlid yr eglwys yn ffyrnig a chreulawn. Yr oedd Satan yn hynod o anewyllysgar i ollwng ei afael o ran mór ëang ac enwog o'r byd a'r gwledydd a gynnwysid yn yr ymherodraeth Ruf-

einig, yr hon a feddiannasai mór dawel am gynifer o oesoedd: gan hyny, pan welodd ei bod yn myned mór gyflym o'i ddwylaw, efe a ymgynhyrfodd i'r eithaf. Codwyd uffern i gyd i'w gwrthwynebu â'i holl allu.

Gelwir Satan, pan yn ymegnïo fel hyn trwy awdurdod yr ymherodraeth Rufeinig Baganaidd, yn *ddraig goch fawr*, ac iddi saith ben a deg corn, yn rhyfela â'r wraig a wisgasid â'r haul. Dat. xii. Ac y mae y rhyfel rhwng Michael a'i angelion â'r ddraig a'i hangelion, yn arddangos yr ymladdfeydd gwaedlyd a fu rhwng eglwys Crist a galluoedd yr ymherodraeth Baganaidd yn flaenorol i amser Cystenyn. "A bu ryfel yn y nef; Michael a'i angelion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd a'i hangelion hithau."

II. Sylwaf ar y *llwyddiant* a gafodd yr efengyl yn y byd cyn amser Cystenyn, er yr holl wrthwynebiad a wnaed iddi. Er cymaint oedd dysgeidiaeth a gallu yr ymherodraeth Rufeinig, a'r defnydd eithaf a wnaed o'r ddau i wrthwynebu Cristionogaeth; eto yr oedd y cwbl yn ofer. Nis medrent ei diwreiddio, nac ychwaith rwystro ei chynydd. Yr oedd teyrnas Crist yn llwyddo yn rhyfeddol er gwaethaf y cwbl, ac ymherodraeth Baganaidd Satan yn malurio ac yn diflanu o'i blaen, yn unol â'r testun, "Y gwyfyn a'u bwyty fel dilledyn, a'r pryf a'u hysa fel gwlan." Yr oedd hefyd yn beth pur nodedig, am y rhan fwyaf o'r amser, mai po fwyaf a erlidient ar yr eglwys, mwyaf i gyd oedd ei chynydd; yn gymaint felly fel y daeth yn ddywediad cyffredin, *Gwaed y merthyron yw had yr eglwys.* Yr oedd hyn yn profi bod eglwys Crist yn debyg i'r balmwydden, am yr hon y dywedir, po mwyaf fyddo y pwysau a grogir wrth ei brigau, mwyaf i gyd y tŷf ac y blodeua. Ac o herwydd hyn efallai y cyffelybir yr eglwys i balmwydden. Can. 7. 7. "Dy uchder yma sydd debyg i balmwydden." Y mae IUSTIN FERTHYR, cyndad enwog yn yr eglwys, yr hwn oedd yn byw yn yr oes nesaf ar ol yr apostolion, yn dywedyd nad oedd un ran o ddynolryw yn ei ddyddiau ef, pa un bynag ai Groegiaid ai Barbariaid, neu wrth ba enw

bynag y gelwid hwynt, hyd yn nod y cenedloedd mwyaf anwaraidd ac anfoesgar, lle nad oedd gweddïau a dyiolchiadau yn cael eu cyflwyno i Greawdwr mawr y byd, yn enw y croeshoeliedig Iesu. TERTULLIAN, un arall o dadau enwog yr eglwys Gristionogol, yr hwn oedd yn byw yn nechreu yr oes ganlynol, a dystia, fod y grefydd Gristionogol wedi ymledu yn ei ddydd ef hyd derfynau eithaf y byd adnabyddus y pryd hyny, yn mysg pa rai y cyfrifir Prydain ganddo; ac oddiwrth hyn y mae yn profi fod teyrnas Crist yr amser hwnw yn fwy eang nac unrhyw o'r pedair unbenaeth fawr. Dywed yn mhellach, er nad oedd y Cristionogion ond megys dyeithriaid o ymddangosiad diweddar, eto eu bod yn llenwi pob lle yn y llywodraeth Rufeinig, yn ddinasoedd, ynysoedd, cestyll, corfforiaethau, cynghorfàu, byddinoedd, llwythau, y palas, y seneddr, a'r llysoedd cyfreithiol; gan adael dim ond eu temlau yn unig i'r Paganiaid. Ychwanega, pe buasent oll yn cyduno i ymadael o'r ymherodraeth Rufeinig, y buasai y byd yn synu at yr unigrwydd a'r anghyfannedd-dra a ddeilliasai o hyny, buasai cyn lleied wedi eu gadael; a bod y Cristionogion mór lluosog fel yr oeddynt yn ddigon cryfion i amddiffyn eu hunain yn hawdd, pe buasent ond codi arfau yn erbyn y swyddogion Paganaidd. Ac y mae Pliny, Pagan oedd yn byw yn y dyddiau hyny, yn dywedyd fod lluaws o'r ddwy ystlen, o bob oed a sefyllfa, wedi dyfod yn Gristionogion. Y mae yr ofergoeledd hwn, eb efe, wedi llygru a gorchuddio, nid yn unig y brif ddinas, eithr trefydd a gwledydd, ac y mae y temlau a'r aberthau yn gyffredinol yn anghyfannedd a gwrthodedig.

Ac y mae ysgrifenwyr Paganaidd a Christionogol y dyddiau hyny, yn sylwi i'r oraclau Paganaidd hyglod oedd yn y temlau, â pha rai y buasai tywysogion ac ereill, am lawer o oesoedd, yn arfer ymofyn a derbyn atebion mewn llais eglur oddiwrth y duwiau, fel y tybid, gael eu taro yn awr â mudanrwydd, fel na roddasant atebion mwyach; ac yn neillduol yr oracl oedd yn Delphos, yr hynotaf yn yr

holl fyd, â'r hon y byddai y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn arfer ymgynghori, a ddechreuodd ddystewi yn ddioed wedi genedigaeth Crist. Pan ofynwyd i'r gau-dduw, yr hwn a addolid, ac a arferai roddi atebion o'i oracl yn y deml hono, paham yr ydoedd yn gomedd ateb yn ol ei arfer? atebodd, (fel y mae llawer o'r ysgrifenwyr cenedlig oeddynt yn byw o gylch y pryd hwnw yn adrodd,) "Y mae y bachgen Hebreig, yr hwn ydyw Brenin y duwiau, wedi gorchymyn i mi ymadael o'r tŷ hwn, a myned i uffern; ac am hyny nid ydych i ddysgwyl atebion mwyach."* Ac y mae amryw ysgrifenwyr Paganaidd, y rhai oeddynt yn byw oddeutu y pryd hwnw, yn siarad llawer am ddystawrwydd yr oraclau, yr hyn a barodd syndod iddynt, gan nad oeddynt yn gwybod yr achos o hyny. Ysgrifenodd Plutarch draethawd neillduol ar yr achos, yr hwn sydd eto ar gael. A Porphyry, yr hwn oedd wrthwynebwr i'r grefydd Gristionogol, a ddywed y geiriau hyn: "Nid yw yn rhyfedd fod y ddinas wedi ei llanw âg afiechyd er ys cynifer o flynyddau, gan fod Esculapius a'r lleill o'r duwiau wedi peidio ymddyddan â dynion; canys ni dderbyniodd neb gymhorth na llesâd cyhoeddus oddiwrth y duwiau, er pan ddechreuwyd addoli yr Iesu." Fel hyn yr oedd teyrnas Crist yn buddugoliaethu ar deyrnas Satan.

III. Yr amgylchiadau *trallodus a chyfyng neillduol ychydig cyn esgyniad Cystenyn Fawr i'r orsedd.* Y trallod hwn a ddyoddefwyd dan y *ddegfed* erlidigaeth Baganaidd, yr hon oedd y drymaf a'r greulonaf cystal a'r ddiweddaf o honynt. Yr oedd yr eglwys wedi mwynhau tua deugain mlynedd o lonyddwch, er pan beidiasai y *nawfed* erlidig-

* A ganlyn sydd gyfieithad o benill Lladinaidd, yr hwn, meddir, ydoedd atebiad gwreiddiol yr oracl:

Y Bachgen bach Hebreig, Duw mawr y duwiau oll,
Oddiyma a'm deolodd i lawr i uffern bwll.
Ymad oddiwrth f'allorau: taw, gad lonydd im';
Na chrybwyll wrthyf mwyach, nid allaf wneuthur dim.

THEO. EVANS.

aeth; ond trwy iddynt wneyd camddefnydd o'u rhyddid, daethant i raddau yn oerion a difywyd gyda chrefydd, a dechreuodd ymrafaelion dyfu yn eu mysg; trwy yr hyn y cyffroisant Dduw, fel y goddefodd i'r brofedigaeth arswydus hon eu goddiweddyd. A chan fod Satan wedi colli cymaint o dir, er ei holl ymdrechiadau, ymddengys iddo ymgynhyrfu i gynddaredd anarferol. Ymroddodd y rhai oeddynt y pryd hwnw mewn awdurdod â'u holl allu i ddiwreiddio Cristion ogaeth, trwy losgi yr holl Fiblau, a dinystrio yr holl Gristionogion; ac am hyny nid oeddynt yn cymeryd amser i'w profi neu eu heuogfaru wrth rëol gyfreithiol, ond syrthient arnynt lle bynag y caent hyd iddynt. Arferent weithiau roddi tân yn y tai lle y byddai lluaws o honynt wedi ymgynnull, a'u llosgi oll yn nghyd; a merthyrid y fath luoedd brydiau ereill, nes y byddai yr erlidwyr yn llwyr flino ar y gorchwyl o'u poenydio a'u llofruddio hwynt; ac yr oedd y llofruddiadau mewn rhai manau poblog yn gyfryw fel yr oedd y gwaed yn llifo megys ffrydiau. Dywedir i ddwy fil ar bymtheg gael eu merthyru mewn un mis; ac nad oedd rhif y Cristionogion a fuont feirw trwy greulonderau eu herlidwyr yn ystod yr erlidigaeth hon, yn llai na chant a phedair a deugain o filoedd, yn yr Aifft yn unig, heblaw saith gan' mil a fuont feirw trwy flinderau alltudiaeth, neu yn y gweithfeydd cyhoeddus y dedfrydesid hwy iddynt.

Parhäodd yr erlidigaeth hon ddeng mlynedd; ac fel yr oedd yn rhagori ar yr erlidigaethau blaenorol o ran rhifedi ei merthyron, felly hefyd yr ydoedd yn rhagori yn amrywiaeth a lluosogrwydd y dyfeisiadau creulon a ddychymygwyd ganddynt i'w poenydio. Dywed rhai awduron oeddynt yn byw y pryd hwnw, eu bod yn aneirif, ac yn myned tu hwnt i allu iaith eu darlunio. Yr oedd yr erlidigaeth hon yn llemdost neillduol yn Mhrydain; a hon ydyw yr un a ragfynegwyd yn Dat. 6. 9, 10: "A phan agorodd efe y bummed sêl, mi a welais dan yr allor eneidiau y rhai a laddesid am air Duw, ac am y dystiolaeth oedd ganddynt. A hwy a lefasant â llef uchel, gan ddywedyd, Pa hŷd, Ar-

glwydd sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?" Ac yn mhen deng mlynedd, sef amser parhâd yr erlidigaeth hon, y Paganiaid erlidgar, yn meddwl eu bod wedi gorphen eu gorchwyl, oeddynt yn ymffrostio iddynt lwyr ddystrywio enw a choelgrefydd y Cristionogion, ac adferyd addoliad y duwiau.

Fel hyn, yr amser tywyllaf gyda 'r eglwys Gristionogol, oedd ychydig cyn tóriad y dydd. Cawsant eu dwyn i'r cyfyngdra eithaf ychydig cyn ymddangosiad yr Arglwydd i roddi gwaredigaeth ogoneddus iddynt, megys yr oedd caethiwed Israel yn yr Aifft yn fwy gorthrymus a chreulon ychydig cyn eu gwaredigaeth trwy law Moses. Meddyliodd eu gelynion eu bod wedi eu llyngcu i fyny, a selio eu dinystr, fel y tybiasai Pharaoh a'i lu pan oddiweddwyd Israel ganddynt wrth y Môr Coch.

IV. Yr wyf yn awr yn dyfod at *y chwyldröad mawr yn amser Cystenyn*, yr hyn, ar amryw ystyriaethau, oedd yn gyffelyb i ddyfodiad Crist ar gymylau y nef, i achub ei bobl a barnu y byd. Pobl Rhufain, wedi blino ar lywodraeth y gorthymwyr y buasent yn ddeiliaid iddynt yn ddiweddar, a anfonasant at Cystenyn, yr hwn oedd y pryd hyny yn ninas Caerefrog, yn Mhrydain, i ddyfod a chymeryd yr orsedd. Dywedir iddo gael ei galonogi gan ymddangosiad colofn o oleuni, ar ffurf croes, yn y nefoedd, yn ngolwg ei holl fyddin, ac arni yr ysgrifen εν τουτω νικα, *yn hon gorchfyga;* a thrwy i Grist ymddangos iddo mewn breuddwyd y nos ganlynol, a'r un groes yn ei law, gan ei gyfarwyddo i wneyd croes fel hono, i fod iddo yn faniar freninol, fel y byddai i'w fyddin ymladd dani, a chan sicrhau iddo y gorchfygai. Yn ganlynol, efe a orchfygodd ei elynion, ac a gymerodd feddiant o'r orsedd ymherodrol, a derbyniodd y grefydd Gristionogol, ac efe oedd yr ymherawdwr Cristionogol cyntaf erioed a deyrnasodd. Daeth i'r orsedd oddeutu y flwyddyn o oed Crist 320. Sylwaf ar amrywiol bethau oeddynt yn cydfyned â, neu a gymerasant le yn ddiatreg wedi, esgyniad Cystenyn i'r orsedd.

1. Cafodd yr eglwys Gristionogol trwy hyn ei llwyr waredu oddiwrth erlidigaeth. Yr oedd dydd ei gwaredigaeth, ar ol y fath nos dywell o gystudd, yn awr wedi dyfod: yr oedd galar wedi aros dros nos, ond yn bresennol y mae boreu gwaredigaeth orfoleddus wedi gwawrio. Ymddengys i'r Arglwydd yn awr farnu ei bobl, ac edifarhau am ei weision, pan welodd ymadaw o'u nerth, ac nad oedd na gwarchäedig na gweddilledig o honynt. Deut. 32. 36. Nid oedd raid i'r Cristionogion ofni erlidigaethau yn awr. Yr oedd eu holl erlidwyr wedi eu darostwng, ac yr oedd rhai o'u llywodraethwyr yn Gristionogion fel hwy eu hunain.

2. Ymddengys i'r Arglwydd yn awr dywallt barnedigaethau dychrynllyd ar eu gelynion. Y mae yr hanesion a roddir am y diwedd arswydus a ddaeth i'r ymherawdwyr, tywysogion, cadfridogion, cadbeniaid, a mawrion paganaidd ereill, y rhai a ymegnïasant i erlid y Cristionogion, yn dra erchyll. Buont feirw yn druenus, dan boenau corfforol dirfawr, ac annhraethadwy ddychrynfeydd cydwybod; a llaw farnol Duw megys yn weledig arnynt: fel y gellir yn eithaf priodol gydmaru yr hyn a ddaeth iddynt i'w hymguddiad yn ogofâu a chreigiau y mynyddoedd.

3. Y pryd hwn fe ddilëwyd Paganiaeth, i fesur mawr, trwy yr ymherodraeth Rufeinig. Y delwau a ddrylliwyd, a'r temlau Paganaidd a dynwyd i lawr. Y delwau aur ac arian a doddwyd, ac a fathwyd yn arian traul. Dygwyd nifer o'u prif ddelwau, y rhai oeddynt o wneuthuriad cywrain, i Gaercystenyn, lle y llusgwyd hwy i fyny ac i lawr yr heolydd wrth raffau yn ngwyddfod y bobl, y rhai a chwarddent yn yr olwg arnynt. Cafodd yr offeiriaid Paganaidd eu gwasgaru a'u deol.

4. Dygwyd yr eglwys Gristionogol i fwynhau heddwch a llwyddiant mawr. Yr holl swyddogion Paganaidd yn awr a ddiswyddwyd, a Christionogion yn unig a ddyrchafwyd i awdurdod trwy yr holl ymherodraeth. Cawsant yn awr lywyddion Cristionogol, llywodraethwyr Cristionogol, barnwyr a swyddogion Cristionogol, yn lle eu hen rai Pagan-

aidd. Ymroddodd Cystenyn i anrhydeddu yr esgobion neu y gweinidogion, ac i adeiladu ac addurno eglwysydd; ac yr oedd eglwysydd Cristionogol godidog a phrydferth yn cael eu hadeiladu trwy holl barthau y byd, yn lle yr hen demlau paganaidd.

Hwn oedd y chwyldroad mwyaf a gymerasai le wedi y dylif. Satan, tywysog y fagddu, brenin a duw y byd Paganaidd, a fwriwyd allan. Gorchfygwyd y llew rhüadwy gan Oen Duw, yn y llywodraeth gryfaf a fu ganddo erioed. Yr ydoedd hyn yn gyflawniad hynod o'r brophwydoliaeth hono yn Ier. 10. 11: "Y duwiau ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear, dyfethir hwynt o'r ddaear, ac odditan y nefoedd." Bwriodd y rhan fwyaf o'r byd yn awr eu hen dduwiau a'u hen grefydd ymaith yn hollol, â pha rai yr oeddynt wedi ymarfer dros amser hŵy o lawer nac y mae eu hanesion yn rhoddi cyfrif, ïe, cyhyd fel na fedrent olrhain ei ddechreuad. Yr oeddid yn llefaru o'r blaen am genedl yn newid ei duwiau fel peth anadnabyddus, (Ier. 2. 10, 11;) ond yn awr fe ddygwyd y rhan fwyaf o genedloedd y byd adnabyddus i fwrw ymaith eu duwiau. Y lluaws duwiau a addolid ganddynt, a wrthodwyd oll. Miloedd o honynt a fwriwyd ymaith i roddi lle i addoliad y gwir Dduw, a Christ yr unig Waredwr; ac yr oedd yma y cyflawniad mwyaf hynod o Esa. 2. 17, 18: "Yna yr iselir uchelder dyn, ac y gostyngir uchder dynion: a'r Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn y dydd hwnw. A'r eilunod a fwrw efe ymaith yn hollol." Ac er y pryd hwnw ni chlywyd am y duwiau hyny, y rhai a fuont unwaith mór enwog yn y byd, megys Iau, a Sadwrn, a Minerfa, a Iuno, ond fel pethau a fu yn yr hen amser. Ni bu iddynt demlau, nac allorau, nac addolwyr, er ys llawer cant o flynyddoedd.

Yn awr y daeth terfyn i brif ran yr hen fyd Paganaidd, sef yr ymherodraeth Rufeinig. Ac y mae y chwyldröad mawr hwn, yn nghyda dinystr arswydus y mawrion a fuasent yn erlidwyr, yn cael ei gydmaru (Dat. vi.) i ddiwedd y byd, a dyfodiad Crist i'r farn; a hyn a arwyddocëir yn fwyaf un-

iongyrchol dan agoriad y chwechfed sêl, yr hyn a ddilynodd yr eneidiau dan yr allor yn llefain, "Pa hŷd, Arglwydd, sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?" Mae gweledigaeth y chwechfed sêl, yn ol cydsyniad cyffredinol esponwyr, yn golygu y cwymp hwn i'r ymherodraeth Rufeinig Baganaidd; er ei fod o hirbell yn cyfeirio yn fwy at ddydd y farn, o'r hyn yr oedd y chwyldröad hwn yn gysgod. Nis gall fod mai dydd y farn yw y peth uniongyrchol a olygir yma; o blegyd y mae genym hanes am lawer o ddygwyddiadau y rhai oeddynt i gymeryd lle ar ol y rhai hyny dan y chwechfed sêl.

Y mae fod y diafol yn cael ei fwrw o'r nefoedd i'r ddaear, hefyd yn arddangos yr hyn a gymerodd le yn awr. Yr oedd efe, trwy ei fawr nerth a'i rwysg yn yr ymherodraeth Rufeinig, wedi dyrchafu ei orsedd hyd y nefoedd. Ond yn awr efe a syrthiodd o'r nefoedd fel mellten, a'i deyrnas a gyfyngwyd i fysg cenedloedd mwy anwaraidd a gwaelach, neu i barthau isaf y ddaear. Dat. 12. 9. "Bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd: efe a fwriwyd allan i'r ddaear, a'i angelion a fwriwyd allan gydag ef." Pan demtiasai Satan Grist yn flaenorol, efe a addawodd roddi holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant iddo ef; ond bu raid iddo yn awr eu rhoddi i fyny yn groes i'w ewyllys. Yr oedd hyn yn gyflawniad gogoneddus o'r addewid a roddasai Duw i'w Fab. Esa. 53. 12. "Am hyny y rhanaf iddo ran gyda llawer, ac efe a rana yr yspail gyda'r cedyrn: am iddo dywallt ei enaid i farwolaeth: ac efe a gyfrifwyd gyda'r troseddwyr; ac efe a ddug bechodau llaweroedd, ac a eiriolodd dros y troseddwyr." Yr oedd hyn yn gyflawniad helaeth o'r prophwydoliaethau perthynol i amseroedd gogoneddus yr efengyl, yn neillduol yr eiddo Daniel. Fe ryngodd bodd i Dduw y nefoedd yn awr osod i fyny deyrnas ar adfeiliau teyrnas Satan. Y fath ydyw y llwyddiant a gafodd prynedigaeth Crist, a'r cyfryw oedd yr anrhydedd a

roddes y Tad arno am y dirmyg a ddyoddefodd efe pan ar y ddaear.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd am lwyddiant yr efengyl o esgyniad Crist hyd amser Cystenyn, nyni a allwn godi dadl gref dros eirwiredd y grefydd Gristionogol, a bod efengyl Iesu Grist wedi dyfod yn wirioneddol oddiwrth Dduw. Yn enwedig,

1. Gallwn gasglu oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, mai *yr efengyl, a hi yn unig, a fu y moddion effeithiol i ddwyn y byd i wybodaeth o'r gwir Dduw.* Nad oedd y rhai hyny a addolid gan y Paganiaid yn dduwiau, ac nad oes ond un Duw yn unig, sydd beth, er pan y'n haddysgwyd felly gan yr efengyl, y gallwn ni yn awr ganfod ei wirionedd â'n rheswm ein hunain. Y mae hyn yn cyduno yn amlwg â goleuni natur, a gellir yn hawdd ddangos ei fod yn wirionedd rhesymol. Mae y Gwrthgredinwyr eu hunain yn addef y gellir profi bod un Duw, ac un yn unig, yr hwn a wnaeth y byd a'r hwn sydd yn ei lywodraethu. Ond y mae yn ddigon eglur mai yr efengyl, a hi yn unig, a fu y moddion effeithiol i ddwyn dynion i wybodaeth o'r gwirionedd hwn, ac nid addysgiadau y philosophyddion; ni fu eu hymchwiliadau hwy ond ofer: *Nid adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw.* Hyd oni thaenwyd yr efengyl a'r ysgrythyrau sanctaidd ar led, yr oedd yr holl fyd yn anwybodus am y gwir Dduw, ac yn y tywyllwch mwyaf gyda golwg ar grefydd, yn cofleidio y tybiau a'r defodau mwyaf atgas, y rhai a gyfrifir yn awr gan bob cenedl waraidd megys ffoleddau plantos. Nid oedd goleuni natur, eu rheswm eu hunain, na holl ddoethineb y dysgedigion, o ddim lles hyd oni ddaeth yr ysgrythyrau. Ond y mae y rhai hyn wedi bod yn llwyddiannus i ddwyn y byd i gyfaddef un gwir ac unig Dduw, ac i'w addoli a'i wasanaethu ef.

Ac oddiyma, yn wreiddiol, y tarddodd y cyfaddefiad o un gwir ac unig Dduw, yn mha barth bynag o'r byd y mae hyny yn awr yn bodoli—yn mysg Cristionogion, Iuddewon, Mahometaniaid, ac hyd yn nod Gwrthgredinwyr. Ac o her-

wydd hyn nid ydynt yn gyffredinol y dydd hwn wedi eu gadael yn nhywyllwch Paganiaeth. Cawsant hwy yr holl oleuni sydd ganddynt, naill ai yn union-gyrchol o'r ysgrythyrau, neu trwy draddodiad oddiwrth eu tadau, y rhai a'i cawsant ar y cyntaf o'r ysgrythyrau. Ac y mae yn ddiamheuol y buasai y rhai hyny sydd yn awr yn ddirmygwyr yr ysgrythyrau, ac yn ymffrostio cymaint yn ngrym eu synhwyrau, fel yn ddigonol i dywys i adnabyddiaeth o'r unig wir Dduw, pe buasai yr efengyl heb ei thaenu dros y byd, a goleuo eu cyndadau, yn eilun-addolwyr mór ynfyd ac anifeilaidd ag oedd y cyffredinolrwydd o'r byd cyn i'r efengyl wawrio arnynt. Y Mahometaniaid, y rhai nid ydynt yn addef ond un gwir Dduw, a dderbyniasant y golygiad hwnw oddiwrth yr ysgrythyrau; canys y Mahometaniaid cyntefig a addysgwyd yn y grefydd Gristionogol, ond a wrthgiliasant oddiwrthi. Mae yn amlwg mai yr ysgrythyrau ydynt y moddion priodol a fwriadwyd gan Dduw i ddwyn y byd i wybodaeth o hono ef ei hun, yn hytrach na rheswm dynol, neu unrhyw beth arall. Canys afresymol fyddai tybied i'r efengyl, oddyeithr iddi gael ei hamcanu gan Dduw fel priodol foddion i hyny, ei gyrhaeddyd yn effeithiol, a hyny wedi i reswm dynol am lawer o oesoedd gael ei brofi yn ofer. Os nad gair Duw ydyw yr ysgrythyrau, nid ydynt ddim namyn tywyllwch a thwyll, ïe, y twyll mwyaf. Ac a ydyw yn rhesymol meddwl i Dduw yn ei ragluniaeth wneyd defnydd o ragrith a thwyll i ddwyn y byd i wybodaeth o hono ef ei hun, ac na ch'ai un ran o hono ei ddwyn i wybodaeth am dano ef trwy ryw ffordd arall?

2. Yr oedd llwyddiant yr efengyl yn erbyn y fath wrthwynebiad grymus, yn dangos yn amlwg law Duw o'i phlaid. Y llywodraeth Rufeinig, yr hon a ymroddodd i rwystro llwyddiant yr efengyl gyda'r fath egni, ac i ddarostwng eglwys Crist, oedd yr alluocaf o'r holl lywodraethau; ac nid yn unig hyny, ond ymddengys fod yr eglwys yn eu dwylaw hwynt. Ni ddarfu y Cristionogion y rhai oeddynt dan eu hawdurdod, erioed godi arfau i amddiffyn eu hunain; nid oeddynt

yn ymarfogi â dim ond amynedd, a'r cyffelyb arfau ysbrydol; ac eto nis medrodd y gallu nerthol yma eu gorchfygu, eithr, i'r gwrthwyneb, gorchfygodd Cristionogaeth hwy. Yr oedd yr ymherodraeth Rufeinig wedi darostwng llawer o deyrnasoedd cedyrn a galluog; darostyngasant yr unbenaeth Roegaidd, er iddi eu gwrthsefyll i'r eithaf; ac eto ni fedrent orchfygu yr eglwys, yr hon oedd yn eu dwylaw; ond, i'r gwrthwyneb, yr eglwys a'u darostyngodd hwy, ac o'r diwedd a fuddugoliaethodd arnynt.

3. Nis gellir mewn un modd briodoli y lledaeniad hwn o'r efengyl i unrhyw achos effeithiol arall, namyn gallu Duw. Yr oedd yma effaith mawr a rhyfeddol; ac nid ydoedd heb ryw achos iddo. Pa achos arall a ellid ddychymygu ond gallu dwyfol? Nid nerth allanol yr offerynau a ddefnyddiwyd ynddo ydoedd. Pysgotwyr yn unig oedd ar y cyntaf yn pregethu yr efengyl, gan y rhai nid oedd gallu na golud bydol i gynnal eu hunain. Nid eu synhwyr a'u cyfrwystra hwy eu hunain a gynyrchodd yr effeithiau rhyfeddol hyn; oblegyd nid oeddynt hwy ond dynion tlodion ac annysgedig. Nid addasrwydd eu chwedl at syniadau ac egwyddorion dynolryw chwaith. Nid ydoedd hon yn chwedl hyfryd: canys nid oedd Duw a Iachawdwr croeshoeliedig ond maen-tramgwydd i'r Iuddewon, a ffolineb i'r Groegiaid. Nid addasrwydd eu hathrawiaethau at duedd-iadau dynion oedd y peth; canys nid oes dim yn fwy gwrthwynebol i lygriadau dynion, nac athrawiaethau pur yr efengyl. Ni ddarfu i'r effaith yma, gan hyny, ddeillio oddiwrth un achos arall namyn gallu a gorchuchwyliaeth Duw; ac os oedd gallu Duw yn cael ei ddefnyddio fel hyn i achosi llwyddiant yr efengyl, yna ei air ef ydyw yr efengyl; canys y mae yn ddigon sicr nad yw Duw yn defnyddio ei allu anfeidrol i ddwyn yn mlaen ragrith a thwyll.

4. Yr oedd y llwyddiant hwn yn cytuno â'r hyn a ragfynegasai Crist a'i apostolion. Mat. 16. 18. "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Ioan 12. 24. "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi,

Oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear, a marw, hwnw a erys yn unig: eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer." Ac adnodau 31, 32. "Yn awr y mae barn y byd hwn: yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn. A minau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." Ioan 16. 8. "A phan ddel (sef y Dyddanydd) efe a argyhoedda y byd o bechod, o gyfiawnder, ac o farn—oblegyd tywysog y byd hwn yn awr a farnwyd."

Felly y mae yr apostol Paul (1 Cor. 1. 21—28) yn dadgan, wedi i'r byd fethu adnabod Duw trwy ddoethineb, fod "Duw wedi gweled yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y y rhai hyny sydd yn credu;" a bod "Duw wedi ethol ffolbethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion; a gwan-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn; a phethau distadl y byd, a'r pethau nid ydynt, fel y dyddimai y pethau sydd."—Os bydd i neb ragfynegu peth, a fyddo, oddiwrth achosion y gellir eu rhagganfod, yn dra thebyg ynddo ei hun o ddyfod i ben, nid ydyw hyny ond sail wán fod y datguddiad oddiwrth Dduw; ond pan y mae peth ag sydd yn hollol groes i drefn gyffredin pethau yn cael ei ragfynegu, ac eto yn dyfod i ben yn unol â'r rhagddywediad, y mae hyn yn brawf cadarn fod y rhagddywediad oddiwrth Dduw. Y mae ystyriaeth fel hyn o'r *dull* y lledaenwyd ac y llwyddwyd yr efengyl yn ystod yr amser y buwyd yn son am dano, yn brawf cadarn fod yr ysgrythyrau yn air Duw.

---

## PEN. III.

*O Amser Cystenyn hyd Gyfodiad Anghrist.*

Yr wyf yn bresennol yn dyfod i ddangos y llwyddiant a gafodd prynedigaeth Crist o ddadymchweliad yr ymherodraeth Rufeinig Baganaidd, yn amser Cystenyn Fawr, hyd

gyfodiad Anghrist. Ac mewn trefn i gael eglurach golwg ar weithredoedd mawrion Duw yn hyn, ac i ninau ganfod eu gogoniant, bydd yn anghenreidiol, megys yn y cyfnodau blaenorol, ystyried, nid yn unig y llwyddiant ei hun, eithr y gwrthwynebiad a wnaed iddo.

I. Y *gwrthwynebiad.* Satan, y ddraig goch fawr, ar ol ymladd mór flin â Michael a'i angelion am y rhan fwyaf o dri chan' mlynedd, o'r diwedd a ymlidiwyd ac a lwyr orchfygwyd; fel y bu iddo gael ei fwrw megys o'r nef i'r ddaear. Er hyny nid ydyw yn rhoddi i fyny ei wrthwynebiad i'r wraig, sef eglwys Crist, yn nghylch yr hon y buasai yr holl ymladd hwn; ond y mae yn parhau yn llidiog, yn adnewyddu ei ymgyrchiadau, ac yn ymosod ar yr eglwys â dichellion newyddion. Y sarph, wedi iddi gael ei thaflu o'r nef i'r ddaear, a fwriodd o'i safn ddwfr megys afon, "fel y gwnai ddwyn y wraig ymaith gyda 'r afon." Yr oedd ei gwrthwynebrwydd i eglwys Crist, cyn cyfodiad Anghrist, gan mwyaf o ddau fath: naill ai trwy lygru eglwys Crist â chyfeiliornadau, neu trwy adnewyddu ei hymdrechiadau i adferu Paganiaeth.

1. Wedi dinystrio yr ymherodraeth Rufeinig Baganaidd, Satan a aflonyddodd yr eglwys â *chyfeiliornadau.* Er i Dduw weithredu mór ogoneddus yn ngwaredigaeth ei eglwys oddiwrth ei herlidwyr Paganaidd, yn nadymchweliad yr ymherodraeth Baganaidd; eto, gan nad oedd dyddiau ei gwewyr wedi dirwyn i fyny, a'r amser pennodedig i'w llwyddiant (yr hyn oedd i ganlyn cwymp Anghrist) wedi dyfod eto, nid oedd yr heddwch a'r llwyddiant a fwynhäodd yn amser Cystenyn, ond hynod o fyr. Nid ydoedd ond seibiant, yr hyn a roddodd i'r eglwys heddwch a dystawrwydd megys *dros hanner awr*, tra y bu yr angel yn dal y pedwar gwynt rhag chwythu, hyd oni byddai i weision Duw gael eu selio yn eu talcenau. Dechreuodd yr eglwys yn fuan gael ei blino yn ddirfawr gan gyfeiliornadau, o ba rai y ddau benaf a mwyaf niweidiol i'r eglwys ydoedd Ariaeth a Morganiaeth.

Dechreuodd yr *Ariaid* yn fuan wedi esgyniad Cystenyn i'r orsedd. Yr oeddynt yn gwadu athrawiaeth y Drindod, a duwdod Crist a'r Ysbryd Glan, ac yn haeru nad oeddynt ond crëaduriaid yn unig. Cynyddodd y cyfeiliornad hwn fwy fwy yn yr eglwys, ac ymledodd megys dylif, gan fygwth dadymchwelyd y cyfan, a dwyn ymaith yr holl eglwys, yn gymaint felly fel yr oedd y rhan luosocaf o'r Cristionogion cyn diwedd y bedwaredd ganrif wedi dyfod yn Ariaid. Yr oedd rhai o'r ymherawdwyr, a ddilynasant Gystenyn, yn Ariaid; a chan mai hon oedd y blaid gryfaf, a bod ganddi yr awdurdod wladol o'i thu, hwy a godasant erlidigaeth chwerw yn erbyn gwir eglwys Crist; fel y gellir yn briodol gydmaru y cyfeiliornad hwn i afon yn dyfod allan o safn y ddraig, yr hon a fygythiodd ddadymchwelyd y cwbl, a llwyr ddwyn ymaith y wraig.

Y cyfeiliornad *Morganaidd* a gyfododd yn nechreu y ganrif ganlynol. Dechreuodd gyda Morgan, yr hwn oedd enedigol o Brydain: ei enw Lladinaidd oedd *Pelagius.* Yr oedd yn gwadu pechod gwreiddiol, a dylanwad Ysbryd Duw yn nychweliad pechaduriaid, ac yn dal gallu ewyllys rhydd, a llawer o bethau ereill o'r un duedd; ac fe fu ei gyfeiliornad o flinder mawr i'r eglwys am ychydig. Prif wrthwynebwr Morgan oedd St. Awstin, yr hwn a ysgrifenodd o blaid y ffydd union-gred.

2. Math arall o wrthwynebiad a gyfododd Satan yn erbyn yr eglwys, oedd ei ymegnïadau i adferyd *Paganiaeth.* Yr ymosodiad cyntaf a wnaeth oedd trwy Iulian y Gwrthgiliwr. Pan fu farw Cystenyn, gadawodd ei ymherodraeth i'w dri mab; ac wedi eu marwolaeth hwy, Iulian y Gwrthgiliwr a deyrnasodd yn eu lle. Yr oedd ef wedi bod unwaith yn Gristion proffesedig, ond gwrthgiliodd oddiwrth Gristionogaeth, a throes yn Bagan; ac o herwydd hyny y galwyd ef y *gwrthgiliwr.* Pan ddaeth efe i'r orsedd, ymdrechodd â'i holl egni osod i fyny Baganiaeth drachefn yn yr ymherodraeth. Diswyddodd yr hedd-ynadon Cristionogol, a gosododd rai Paganaidd yn eu lle. Ail adeiladodd y teml

au Paganaidd, a gosododd i fyny yr addoliad Paganaidd, a daeth yn erlidiwr creulonaf i'r Cristionogion. Arferai alw Crist, mewn ffordd o wawd, y *Galilead.* Lladdwyd ef yn ei ryfeloedd â'r Persiaid trwy archoll gwaywffon. Pan ganfu fod ei archoll yn farwol, cymerodd ddyrnaid o'i waed, a thaflodd ef tua 'r nefoedd, gan waeddi, "Ti a orchfygaist, O Galilead!" Mae y duwinyddion yn gyffredin yn meddwl iddo fod yn euog o gyflawnu y pechod anfaddeuol.

Ffordd arall a gymerodd Satan i adferyd Paganiaeth yn yr ymherodraeth Rufeinig, oedd *trwy drais-oresgyniadau a buddugoliaethau cenedloedd Paganaidd.* Canys yn yr amser hwn y darfu i'r Gothiaid a'r Fandaliaid, a chenedloedd anwaraidd ereill o'r gogledd, ymosod ar yr ymherodraeth, ac ennill buddugoliaethau mawrion. Ymdaenasant dros yr holl ymherodraeth; ac yn y bummed ganrif cymerasant ddinas Rhufain, ac o'r diwedd darostyngasant y rhan orllewinol o'r ymherodraeth, a chymerasant feddiant o honi, a rhanasant hi rhyngddynt. Rhanwyd hi yn ddeg teyrnas, gyda 'r rhai y dechreuodd deg corn y bwystfil; canys dywedir i ni am y deg corn mai deg brenin ydynt, y rhai oeddynt i godi tua diwedd yr ymherodraeth Rufeinig: mae deg bys troed delw Nebuchodonosor hefyd yn arddangos y rhai hyn. Meddylir hefyd fod ymgyrchiadau a buddugoliaethau y cenedloedd paganaidd hyn yn cael eu rhagfynegu yn yr 8fed bennod o'r Datguddiad, trwy yr hyn a ddilynodd udganiad y pedwar udgorn cyntaf. Bu y rhai hyn yn foddion i adferyd Paganiaeth drachefn dros ychydig, wedi iddi gael unwaith ei diwreiddio.

II. Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos y *llwyddiant* a gafodd yr efengyl yn yr yspaid hwn, er yr holl wrthwynebiad a wnaed iddi.

1. Sylwaf i wrthwynebrwydd Satan yn y pethau hyn gael ei orthrechu. Er i'r ddraig fwrw y fath genllif o'i safn ar ol y wraig i'w dwyn hi ymaith, eto ni bu yn alluog i gyrhaedd ei hamcan; ond fe gynorthwyodd y ddaear y wraig—ymagorodd a llyngcodd yr afon a fwriasai y ddraig

o'i safn. Y cyfeiliornadau hyn, wedi iddynt fod yn llwyddiannus dros ennyd, yn mhen ychydig a ddiflanasant ymaith, ac fe adferwyd y wir grefydd drachefn.

2. Cafodd yr efengyl, yn ystod yr yspaid yma o amser, lwyddiant ychwanegol yn mysg amryw genedloedd anwaraidd ar gyffiniau yr ymherodraeth Rufeinig. Cawsai yr efengyl gryn ledaeniad yn amser Cystenyn yn yr India Ddwyreiniol, trwy weinidogaeth un Frumentius yn benaf. Dychwelwyd nifer o'r Iberiaid at Gristionogaeth trwy lafur gwraig, yr hon oedd enwog mewn duwioldeb, ac a gymerasid yn gaethes rhyfel ganddynt. Ac fe roddir ychydig hanes am niferi liuosog a ddygwyd i gofleidio yr efengyl yn mysg rhyw genedloedd anwaraidd ereill, y rhai nid oeddynt o fewn cyffiniau ymherodraeth Rhufain, trwy hyfforddiadau ac esiamplau caethion a gymerasant mewn rhyfel. Tua 'r flwyddyn o oed Crist 372, taenwyd yr efengyl yn mhlith trigolion anwaraidd Arabia; ac yn mysg rhai o'r cenedloedd gogleddol; tywysog Gothaidd yn neillduol a ddaeth yn Gristion o gylch yr amser hwn, a lluaws mawr o'i bobl gydag ef. Cafodd yr efengyl hefyd ei lledaenu yn mhellach yn mysg y Persiaid tua diwedd yr amser hwn; ac yn mhlith y Scythiaid, pobl anwaraidd, y crybwyllir am danynt gan yr apostol. Col. 3. 11. "Barbariad, Scythiad," &c.

Ar ol hyn, tua 'r flwyddyn 430, cymerodd dychweliadau rhyfeddol at y ffydd Gristionogol le yn mhlith y Burgundiaid. Yn bresennol, dechreuwyd lledaenu yr efengyl yn yr Iwerddon; a'r Gwyddelod, y rhai a fuasent yn Baganiaid hyd yn hyn, a ddechreuasant dderbyn y ffydd Gristionogol. Tua 'r un amser lledaenwyd hi yn mhellach yn mysg rhyw bobl anwaraidd yn yr Alban, ac mewn rhai manau ereill. Yn y ganrif nesaf, ymwadodd *Zathus*, brenin Paganaidd, yr hwn oedd yn rhëoli ar y Colchiaid, â Phaganiaeth, a daeth i gofleidio y ffydd Gristionogol. Cofrestrir amrywiol genedloedd anwaraidd ereill, y rhai a ymwadasant â Phaganiaeth, ac a gofleidiasant Gristionogaeth o gylch y pryd hwn, nas gallaf eu henwi yn bresennol.

# PEN. IV.

## *O Gyfodiad Anghrist hyd y Diwygiad.*

Yr wyf yn awr yn dyfod at y diwrnod tywyllaf ac echruslonaf a welodd yr eglwys Gristionogol erioed, ac, efallai, y tywyllaf a wel byth, sef o gyfodiad Anghrist hyd y diwygiad dan Luther ac ereill. Bu y wir eglwys am amryw gannoedd o flynyddau yn ystod yr yspaid hwn mewn sefyllfa hynod o ddilewyrch: yr ydoedd, yn gyffelyb i'r wraig yn y diffaethwch, wedi ei chuddio bron allan o olwg a sylw. Wrth lefaru am ddygwyddiadau yr yspaid hwn o amser, sylwaf, yn 1. Am ddichellion Satan, a'i ddyfeisiadau mawrion, yn erbyn teyrnas Crist; 2. Pa fodd y cynnaliwyd eglwys Crist i fyny.

1. Dyfeisiadau mawrion Satan a'i weithredoedd yn erbyn teyrnas Crist yn ystod yr amser hwn. Yr oedd Satan wedi llunio llawer o bethau mawrion yn erbyn yr eglwys Gristionogol o'r blaen, ond cawsai ei siomi yn awr ac eilwaith. Michael a'i angelion a gawsant fuddugoliaeth ogoneddus arno. Pa mór ddychrynllyd oedd ei wrthwynebiadau tra y parhäodd yr ymherodraeth Baganaidd; ac mór ogoneddus oedd y fuddugoliaeth a'r oruchafiaeth a gafodd Crist arno yn amser Cystenyn! Rhyngodd bodd i Dduw yn awr, er parotoi y ffordd i gael buddugoliaeth fwy gogoneddus arno eto, oddef iddo adnewyddu ei nerth, a gwneyd cymaint ag a fedrai â'i allu a'i gyfrwysdra. Caniateir iddo amser hirfaith i osod ei gynlluniau, i sefydlu ei amcanion, ac i gadarnhau ei achos. Y mae Duw yn wir yn goddef iddo ddwyn yn mlaen ei fwriadau mór bell, nes ydyw yr eglwys bron a chael ei llyngcu i fyny; ac i arfer llywodraeth drahaus, falch, ac anattaladwy bron yn y byd am hir amser, cyn i Grist ei lwyr orchfygu, a dinystrio ei deyrnas weledig yn hollol. Efe a wna hyn yn amser dinystr Anghrist: gan

fuddugoliaethu yn ogoneddus ar Satan, wedi gwneuthur o hono gymaint ag a fedr wneyd trwy ei allu a'i gyfrwysdra, ac ymddyrchafu yn uwch na phawb, ac ymddwyn yn y modd mwyaf balchïaidd.

Dau brif orchwyl y diafol yn erbyn teyrnas Crist yn ystod yr amser hwn yw, creu ei deyrnasoedd *Anghristaidd* a *Mahometanaidd;* y rhai yn nghyd a gynnwysant yr hen ymherodraeth Rufeinig; y rhan orllewinol o'r ymherodraeth yw teyrnas Anghrist, a'r rhan ddwyreiniol yw teyrnas Mahomet. Ac, yn ol y desgrifiad yn llyfr y Datguddiad, yn ninystr y rhai hyn, ar ddygiad i mewn amseroedd arddercliog yr eglwys, y bydd buddugoliaeth ogoneddus Crist gan mwyaf yn gynnwysedig. Ac yma gadewch i ni sylwi pa fodd y mae Satan yn codi ac yn cynnal y ddwy deyrnas fawr hyn o'i eiddo i wrthwynebu teyrnas Crist.

1. Mewn perthynas i deyrnas *Anghrist.* Ymddengys mai hwn oedd pen campwaith holl ddyfeisiau y diafol yn erbyn teyrnas Crist, ac y mae yn cael llefaru am dano felly yn eglur yn yr ysgrythyr. Mai Anghrist ydyw y dyn pechod *hwnw* (2 Thes. 2. 3,) sydd mór eglur, a phe buasai felly o ran enwogrwydd. Gelwir ef yn *Anghrist*, yr hyn a arwydda elyn neu wrthwynebwr Crist, nid am mai efe ydyw yr *unig* wrthwynebwr sydd gan Grist; canys y mae yr apostol Ioan yn sylwi fod *amryw* Anghristiau yn ei ddyddiau ef; ond y mae hwn yn cael ei alw *yr Anghrist*, fel pe na byddai yr un ond efe, o herwydd ei fod mór hynod, ac uwchlaw pob un arall. Felly gelwir y ddyfais hon o eiddo y diafol yn *ddirgelwch anwiredd.* 2 Thes. 2. 7. Nid ydym yn canfod hanner cymaint o son am un gelyn i Grist yn mhrophwydoliaethau y Datguddiad a hwn; ac nid yw dinystr un gelyn yn cael llefaru am dano mór ogoneddus, ac o gymaint dedwyddwch i'r eglwys.

Dyfais ydyw hon i droi gweinidogaeth yr eglwys Gristionogol yn weinidogaeth y diafol, ac angelion yr eglwysi yn angelion syrthiedig. Yn y gorthrwm, y goelgrefydd, yr eilun-addoliaeth, a'r erlidigaeth, a osodwyd i fyny ganddo,

efe a ddyfeisiodd ffordd i wneuthur delw o hen Baganiaeth, a mwy nac adferyd yr hyn a gollasai yn nadymchweliad Paganiaeth yn amser Cystenyn. Ac fel hyn, y mae pen y bwystfil, yr hwn a archollwyd i farwolaeth gan Cystenyn, yn cael iachâd i'w friw marwol yn Anghrist. Dat. 13. 3. Ac y mae y ddraig, yr hon yn flaenorol oedd yn llywodraethu yn yr ymherodraeth Rufeinig Baganaidd, ar ol cael ei bwrw allan oddiyno, wedi i'r bwystfil â'r saith ben a'r deg corn godi o'r môr, yn rhoddi ei gallu, ei gorseddfaingc, ac awdurdod mawr iddo ef; ac y mae yr holl fyd yn rhyfeddu ar ol y bwystfil.

Pell ydwyf oddiwrth gymeryd arnaf benderfynu pa bryd y dechreuodd Anghrist deyrnasu, yr hwn sydd bwngc ag y mae cymaint o ddadleu wedi bod yn ei gylch yn mysg duwinyddion ac esponwyr. Y mae yn sicr na ddechreuodd y mil dau gant a thriugain o ddyddiau, neu flynyddoedd, y crybwyllir am danynt mór fynych yn yr ysgrythyr fel amser teyrnasiad Anghrist, cyn y flwyddyn pedwar cant saithddeg-naw o oed Crist; oblegyd ped felly, buasent wedi dybenu, ac Anghrist wedi cwympo cyn hyn, (O. C. 1739.) Yr oedd codiad Anghrist yn raddol. Ymlygrodd yr eglwys Gristionogol mewn llawer o bethau yn fuan wedi amser Cystenyn; a chynyddodd yn fwy fwy ofergoelus yn ei haddoliad, trwy ddwyn i mewn o dipyn i beth lawer o seremoniau i addoliad Duw, hyd oni ddarfu iddynt o'r diwedd ddwyn i mewn addoliad seintiau, a gosod delwau i fyny yn yr eglwysydd. Yr oedd yr offeiriaid yn gyffredinol, ac yn enwedig esgob Rhufain, yn hóni mwy a mwy o awdurdod iddo ei hun. * * * O'r diwedd honodd yr awdurdod i fod yn esgob cyffredinol dros yr holl eglwys Gristionogol; yn yr hyn y gwrthwynebwyd ef am beth amser, ond wedi hyny *efe a gadarnhawyd yn ei ymgais trwy awdurdod yr Ymherawdwr, yn y flwyddyn chwe' chant a chwech.* Wedi hyny honodd awdurdod tywysog daearol, ac felly byddai yn arfer cario dau gleddyf, i arwyddo mai efe oedd perchenog y cleddyf daearol cystal a'r ysbrydol. Honodd fwy a mwy o

awdurdod, hyd oni ddaeth o'r diwedd, megys rhaglaw Crist ar y ddaear, i honi yr un awdurdod a Christ ei hun, pe buasai yn wyddfodol ar y ddaear, yn teyrnasu ar ei orsedd-fainge; neu yr un awdurdod ag a berthyn i Dduw, ac arferai gael ei alw yn *Dduw ar y ddaear*: i'r hwn yr oedd holl dywysogion Cred i ymostwng. Honai awdurdod i gor-oni tywysogion, ac i'w difreinio wrth ei ewyllys; ac fe ganiateid iddo yr awdurdod hwn—ïe, arferai breninoedd ac ymherodron gusanu ei draed. Yr ymherawdwyr a dderbynient eu coronau oddiar ei law; a byddai tywysogion yn arswydo rhag gwg y Pab gymaint a tharanfollt o'r nefoedd. Os gwelai y Pab yn oreu ysgymuno tywysog, ei holl ddeiliaid a ryddheid ar unwaith oddiwrth eu rhwymau o ufudd-dod iddo; ac yr oeddynt yn rhwym o ymwrthod âg ef, dan boen ysgymundod: ac nid yn unig hyny, ond gallasai pwy bynag a'i cawsai ei ladd. Yn mhellach, credid fod gan y Pab awdurdod i felldigo dynion wrth ei ewyllys; canys edrychid ar bwy bynag a fyddai farw dan ei ysgymundod, megys wedi ei sicr ddamnio. Cafodd amryw ymherodron eu diorseddu, a'u difreinnio, a buont feirw yn druenus o'i achos ef; ac os anfoddlonid ef gan bobl unrhyw dalaith neu deyrnas, yr oedd ganddo awdurdod i osod y dalaith neu y deyrnas hono dan ddeddf-waharddiad, yr hon oedd ddedfryd a gyhoeddid gan y Pab yn ei herbyn, trwy yr hon y byddai gweinyddiad yr ordinhadau crefyddol yn eu plith yn cael ei wneuthur yn ddirym. Nis gallasai fod grym yn y bedyddiadau, y sacramentau, y gweddïau, y pregethau, na 'r pardynau, hyd oni byddai i'r ddeddf waharddedig hono gael ei chymeryd ymaith; felly ystyriai y bobl hyny eu hunain mewn sefyllfa ddamniedig tra byddai y ddedfryd yn aros arnynt, ac o herwydd hyny yr oeddynt yn ofni deddf-waharddiad y Pab gymaint a rhyferthwy o dân a brwmstan o'r nefoedd. Ac mewn trefn i roddi ei ddigofaint mewn gweithrediad ar ryw dywysog neu bobl a'i hanfoddlonai ef, byddai yn rhaid i dywysogion ereill hefyd fyned i lawer o draferth a thraul.

Ac megys yr oedd y Pab a'i offeiriaid yn yspeilio y bobl o'u breintiau gwladol ac eglwysig, yr un modd yr oeddynt hefyd yn eu hyspeilio o'u meddiannau, ac yn dyhyspyddu holl Gred o'u harian. Yr oeddynt yn casglu y rhan fwyaf o'u cyfoeth i'w coffrau eu hunain, trwy gyllidau trymion, heblaw tal am bardynau a maddeuant-lythyrau, bedyddiadau a goreneinniadau, gwaredigaeth o'r purdan, a chant o bethau ereill. Gweler mór gywir y cytuna hyn â'r prophwydoliaethau, 2 Thess. 2. 3, 4. Dan. 7. 20, 21. Dat. 13. 6, 7; a phen. 17. 3, 4.

Yr oedd anwybodaeth ac ofergoeledd hefyd yn cynyddu fwy fwy yn ystod yr amser hwn. Ac i'r dyben o ddwyn yn mlaen ddybenion annuwiol ac anysgrythyrol y Pab a'r offeiriaid, yn raddol fe dynwyd yr ysgrythyrau o ddwylaw y cyffredin; ac yn lle meithrin gwybodaeth yn mysg y bobl, yr oeddynt yn ddiwyd yn meithrin anwybodaeth. Ac yr oedd yn ddiareb dderbyniol yn eu plith, mai mammaeth duwioldeb yw anwybodaeth. Yr oedd tywyllwch yr oesoedd hyny mór ddwys, fel yr oedd dysgeidiaeth wedi diflanu bron o'r byd. Yr oedd y rhan fwyaf o'r offeiriaid eu hunain, yn anwybodus farbaraidd, gyda golwg ar unrhyw ddysgeidiaeth gymeradwyol, neu un fath o wybodaeth arall namyn y grefft uffernol o orthrymu a thra-arglwyddiaethu ar eneidiau y bobl. Yr oedd ofergoeledd a drygioni eglwys Rufain yn cynyddu waeth-waeth hyd amser y Diwygiad, a'r holl fyd Cristionogol wedi cael ei arwain ymaith i'r dirywiad mawr hwn, oddyeithr y gweddillion o'r eglwys Gristionogol yn yr Ymherodraeth Ddwyreiniol, oeddynt yn aros heb eu hollol ddadymchwelyd gan y Tyrciaid. Yr oedd eglwys Groeg, a rhai ereill, wedi suddo hefyd i dywyllwch mawr ac ofergoeledd gwrthun, oddyeithr hefyd yr ychydig bobl oedd gan Dduw, y rhai sydd yn cael eu harddangos trwy y wraig yn y diffaethwch, a dau dyst Duw, am ba rai y cawn sylwi eto.—Hon ydyw un o'r ddwy deyrnas fawr a gododd y diafol yn ystod y cyfnod hwn yn wrthwynebol i deyrnas Crist.

2. Y deyrnas *Fahomctanaidd* ydyw y llall, i'r hon y mae awdurdod galluog a thiriogaeth ëang, a osododd Satan i fyny yn erbyn teyrnas Crist. Gosododd hon i fyny yn yr Ymherodraeth Ddwyreiniol, megys y gosodasai yr Anghristaidd yn yr Orllewinol.

Ganwyd Mahomet yn y flwyddyn o oed Crist 570, yn Arabia. Pan ydoedd oddeutu deugain oed, dechreuodd gyhoeddi mai efe oedd prophwyd mawr Duw; ac aeth rhagddo i ddysgu ei grefydd newydd, trwy yr hon yr oedd efe i gael ei addoli megys y penaeth nesaf i Dduw. Cyhoeddodd ei Alcoran, yr hwn, fel yr honai, a dderbyniasai oddiwrth yr angel Gabriel; a chan ei fod yn ddyn dichellgar, yn berchen llawer o olud, ac yn byw yn mysg pobl anwybodus iawn, a hynod o ranedig yn eu barnau am bethau crefyddol, a thrwy gyfrwysdra, ac addewidion teg am baradwys o bleserau cnawdol, efe a ennillodd luaws o ganlynwyr. Gosododd ei hun yn dywysog arnynt, a thaenodd ei grefydd trwy rym y cleddyf, gan osod allan fod ymladd o'i blaid yn rhyglyddu paradwys. Yn y modd yma cynyddodd ei blaid, ac aethant rhagddynt gan ymladd a goresgyn y gwledydd cymydogaethol; ac yn raddol daethant mór lluosog hyd oni ddarfu iddynt ddarostwng rhan ëang o'r byd. Y rhai cyntaf o'i ddilynwyr, a ddechreuasant ddifrodi yr ymherodraeth Rufeinig yn arswydus, oeddynt y Saraceniaid, tua 'r flwyddyn 700. Pobl o Arabia oedd y rhai hyn, lle y buasai Mahomet yn byw. Goresgynasant lawer o'r gwledydd perthynol i'r ymherodraeth, a buont yn llwyddiannus yn eu goresgyniadau dros hir amser. Tybir mai y rhai hyn a feddylir wrth y locustiaid y crybwyllir am danynt yn y 9fed bennod o'r Datguddiad.

Wedi hyny daeth y Tyrciaid, y rhai yn wreiddiol oeddynt bobl wahanol i'r Saraceniaid, yn ddilynwyr i Mahomet, a goresgynasant yr holl Ymherodraeth Ddwyreiniol. Dechreuasant eu hymerodraeth oddeutu y flwyddyn o oed Crist 1296. Yn y flwyddyn 1300 dechreuasant eu rhuthriadau ar Ewrop; cymerasant Gaercystenyn: ac erbyn y flwyddyn

1453, daethant yn feistri yr Ymherodraeth Ddwyreiniol. Fel hyn y daeth yr holl ddinasoedd a'r gwledydd y safai y yr eglwysi enwog ynddynt, am y rhai yr ydym yn darllen yn y Testament Newydd, megys Ierusalem, Antiochia, Corinth, Ephesus, &c., yn awr yn ddarostyngedig i'r Tyrciaid. Tybir mai at y rhai hyn y cyfeirir yn mhrophwydoliaeth y gwyr meirch yn Dat. 9. 15, &c. Ac y mae y gweddill o'r Cristionogion yn y parthau hyny o'r byd, y rhai agos oll ydynt ddeiliaid i eglwys Groeg, mewn cyflwr o gaethiwed truenus dan y Tyrciaid; ac ymddygir tuag atynt yn hynod o farbaraidd a chreulon, fel y maent gan mwyaf wedi dyfod yn dra anwybodus ac ofergoelus.

Dangosais fel hyn pa weithredoedd mawrion o eiddo Satan a gyflawnwyd mewn gwrthwynebrwydd i deyrnas Crist yn ystod yr yspaid hwn o amser.

II. Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos pa fodd y cynnaliwyd eglwys Crist i fyny yn ystod yr amser tywyll hwn.

1. Y mae i'w sylwi i amryw o genedloedd Cred, oddeutu dechreu yr yspaid hwn o amser, wrthsefyll yn hir cyn iddynt gydsynied â llygredigaethau a gormesion eglwys Rufain. Er i'r holl fyd ryfeddu ar ol y bwystfil, eto ni ddarfu yr holl genedloedd syrthio i'w gyfeiliornau ef ar unwaith. Trwy lawer o ymryson a gwrthwynebiad y dygwyd i mewn amryw o brif lygredigaethau eglwys Rufain; ac yn enwedig pan roddodd y Pab allan ei fod yn esgob cyffredinol, fe wnaeth llawer o'r eglwysi wrthwynebiad egnïol i hyny; ac nid ymostyngasant am amser maith i'w honiad afresymol. Pan ddygwyd addoliad delwau gyntaf i'r eglwysi, gwrthwynebwyd hyny yn eofn gan lawer, a daliasant yn hir yn ei erbyn. Ac felly yr oedd gyda golwg ar lygredigaethau ereill o'r eiddo eglwys Rufain. Y rhai oeddynt yn preswylio agosaf i ddinas Rhufain a gydsyniasant gyntaf; ond nis gellid denu y rhai oeddynt yn byw yn mhell oddiyno i roddi eu gyddfau dan yr iau am hir amser; ac fe ddarfu yr eglwysi yn Lloegr, yr Alban, a Ffraingc, gadw purdeb

cyntefig eu hathrawiaeth a'u haddoliad yn hŵy na llawer o'r lleill oeddynt yn agosach i brif orsaf Anghrist.

2. Yr oedd rhyw bersonau neillduol, yn mhob oes o'r amser tywyll hwn, trwy holl barthau Cred, y rhai oeddynt yn dwyn tystiolaeth yn erbyn llygredigaethau a gormes eglwys Rufain. Ni bu un oes ar Anghrist, hyd yn nod yn yr amseroedd tywyllaf, nad yw haneswyr eglwysig yn son am lawer wrth eu henwau y rhai a amlygasant gasineb tuag at y Pab a'i addoliad eilun-addolgar, ac yn dadleu dros burdeb cyntefig yr athrawiaeth a'r addoliad. Gwelodd Duw yn dda gynnal dilyniad didór o dystion trwy yr holl amser, yn yr Almaen, Ffraingc, Prydain, a gwledydd ereill; personau anghyoedd a gweinidogion, rhai yn swyddogion a phersonau o urddas. Ac yr oedd lluaws yn cael eu herlid a'u rhoddi i farwolaeth yn mhob oes am y dystiolaeth hon.

3. Heblaw yr amrywiol bersonau hyn, yr oedd pobl a elwid *Waldensiaid*, y rhai oeddynt yn byw ar wahan oddiwrth bawb ereill o'r byd, ac yn dwyn tystiolaeth barhaus yn erbyn eglwys Rufain trwy yr holl amser tywyll hwn. Y lle yr oeddynt yn preswylio oedd y Vaudois, neu bum' dyffryn Piedmont, gwlad hynod o fynyddig rhwng yr Eidal a Ffraingc; amgylchynid hi gan fynyddoedd uchel yr *Alpau*, y rhai oeddynt agos yn anhyffordd, yr hyn oedd yn gwneyd y dyffrynoedd bron yn anhygyrch. Bu y bobl hyn yn byw yno am oesoedd lawer, mewn sefyllfa ddidoledig oddiwrth yr holl fyd, heb fod ganddynt ond ychydig i'w wneyd âg unrhyw bobl ereill. Ac yno y gwasanaethasant Dduw, yn ol purdeb cyntefig ei addoliad, heb erioed ymostwng i eglwys Rufain. Hwn ond odid oedd y lle a feddylir yn neillduol yn Dat. 12. 6, megys wedi ei barotoi gan Dduw i'r wraig, fel y porthent hi yno yn ystod teyrnasiad Anghrist.

Mae rhai ysgrifenwyr Pabaidd yn addef eu hunain na ddarfu i'r bobl hyn erioed ymostwng i eglwys Rufain. Un ysgrifenwr Pabaidd, wrth son am y Waldensiaid, a ddywed, Cyfeiliornad y Waldensiaid yw y cyfeiliornad hynaf yn y byd. Tybir iddynt ddiangc ar y cyntaf i'r fro fynyddig

hon, i ymguddio rhag creulonderau yr erlidwyr Paganaidd cyn amser Cystenyn Fawr. Ac fel hyn yr ehedodd y wraig i'r diffaethwch oddiwrth wyneb y sarph. Dat. 12. 6. 14. "A rhoddwyd i'r wraig ddwy o adenydd eryr mawr, fel yr ehedai hi i'r diffaethwch, i'w lle ei hun; lle yr ydys yn ei maethu hi yno dros amser, ac amseroedd, a hanner amser, oddiwrth wyneb y sarph." Ar ol i'r bobl hyn wladychu yno, arosodd eu hiliogaeth yno o oes i oes: a chan eu bod megys yn cael eu gwahanu gan gaerau naturiol, cystal a chan ras Duw, oddiwrth y gweddill o'r byd, ni ddarfu iddynt erioed gyfranogi o'r llygredigaethau oedd yn ei orlenwi.

Y rhai hyn yn enwedig oedd y gwyryfon hyny, y rhai ni halogwyd, tra yr oedd eglwysi ereill yn halogi eu hunain; ond a gadwasant eu hunain yn bur i Grist yn unig. Yr oeddynt hwy yn dilyn yr Oen, eu priod ysbrydol, i ba le bynag yr elai: dilynasant ef i'r anialwch erchyll hwn. Dat. 14. 4, 5. Ymddengys eu bod o ran eu hathrawiaeth a'u dull o addoli yr un a'r Protestaniaid; ac yr oeddynt, yn ol cyfaddefiad ysgrifenwyr Pabaidd, yn bobl hynod o ddichlynaidd yn eu bucheddau, yn elusengar, ac yn enwog mewn rhinweddau Cristionogol ereill. Yr oeddynt yn byw mewn tlodi o ran pethau allanol, yn y wlad anial hon; ond dewisasant hyn yn hytrach na chydsynio â dygn lygredigaeth y gweddill o'r byd.

Gan eu bod yn byw mewn lle mór ddirgel, ni chymerwyd sylw o honynt am amser maith. Ond o'r diwedd daethant i'r golwg: aeth y Pabyddion allan yn fyddinoedd galluog yn eu herbyn, a syrthiasant arnynt gyda chreulonder gorwangcus, gan eu llofruddio yn farbaraidd, a'u rhoddi i farwolaeth yn wyr, gwragedd, a phlant, trwy bob math o arteithiau a allasent ddychymygu. Parhäodd eu gelynion i'w herlid heb ond ychydig seibiant am lawer o gannoedd o flynyddoedd; yr hyn a fu yn foddion i yru amryw o honynt o ddyffrynoedd Piedmont. Ffôdd y rhai hyn i bob parth o Ewrop, gan ddwyn eu hathrawiaeth gyda hwynt, yr hyn a fu yn achlysur i droi lluoedd oddiwrth

Babyddiaeth. Nis gallodd eu gelynion â'u holl greulonderau ddadwreiddio eglwys Dduw; yr hyn oedd yn cyflawnu ei air, "a phyrth uffern nis gorchfygant hi."

4. Oddeutu y rhan olaf o'r amser tywyll hwn, ymddangosodd amryw dduwinyddion enwog i amddiffyn y gwirionedd yn gyhoeddus, ac i dystiolaethu yn erbyn llygredigaethau eglwys Rufain. Y cyntaf a'r penaf o'r rhai hyn oedd *Ioan Wickliff*, duwinydd Seisonig, yr hwn a ymddangosodd yn nghylch cant a deugain mlynedd o flaen y Diwygiad; efe a wrthwynebodd y grefydd Babaidd yn wrol, ac a ddysgodd yr un athrawiaeth ag oedd gan y Diwygwyr wedi hyny, ac yr oedd ganddo luaws o ganlynwyr yn Lloegr. Bu dan erlidigaeth danbaid tra fu byw, eto bu farw mewn heddwch; ond wedi ei gladdu, codwyd ei esgyrn gan ei erlidwyr a llosgwyd hwy. Yr oedd iddo nifer mawr o ganlynwyr yn Lloegr hyd amser y Diwygiad; erlidiwyd hwy yn greulon, a lladdwyd lluaws o honynt o achos eu crefydd.

Yr oedd gan Wickliff lawer o ddysgyblion, nid yn unig yn Lloegr, ond hefyd yn mhob parth o Ewrop lle y trosglwyddwyd ei lyfrau; ac yn Bohemia yn neillduol, yn mysg pa rai yr oedd dau dduwinydd enwog, sef *Ioan Huss*, a *Ierome*, duwinydd o Prague, prif ddinas Bohemia. Y rhai hyn a wrthwynebasant eglwys Rufain yn egnïol, ac a gawsant lawer o ddilynwyr. Llosgwyd y ddau gan y Pabyddion o herwydd eu hathrawiaeth; a'u canlynwyr yn Bohemia a erlidiwyd yn greulon, ond ni ddadwreiddiwyd hwy oddiyno hyd y Diwygiad.

---

## PEN. V.

### *O'r Diwygiad hyd yr Amser Presennol.*

Wedi myned fel hyn trwy amser tywyll yr eglwys, yr wyf yn awr yn dyfod i ystyried yr yspaid sydd yn dechreu gyd-

a'r Diwygiad, ac yn cyrhaedd hyd yr amser presennol. Ac yma caf sylwi, 1. Y Diwygiad ei hun; 2. Y gwrthwynebiad a wnaed gan y diafol i'r eglwys ddiwygiedig; 3. Y llwyddiant diweddar a fu ar yr efengyl yn y naill fan a'r llall; 4. Beth ydyw ansawdd presennol pethau yn y byd gyda golwg ar eglwys Crist, a llwyddiant ei brynedigaeth.

I. Y *Diwygiad ei hun.* Dechreuodd y Diwygiad Protestanaidd yn yr Almaen tua 'r flwyddyn 1515, trwy weinidogaeth *Martin Luther*, ysbryd yr hwn a gythryblwyd wrth weled drwg-fucheddau yr offeiriaid Pabaidd; ac wedi iddo ymroddi i ddyfal chwilio am y gwirionedd trwy fyfyrio yr ysgrythyrau, ac ysgrifeniadau hen dadau yr eglwys, efe a ddechreuodd ddynoethi llygredigaethau a thrais eglwys Rufain yn hyf ac eglur yn ei bregethau a'i ysgrifeniadau. Efe a gafodd luaws yn fuan i gydweled âg ef; yn mhlith y rhai yr oedd Etholydd Saxoni, tywysog breninol y wlad yr oedd Luther yn perthyn iddi. Eglwys Rufain, wedi dychrynu yn ddirfawr oblegyd hyn, a gynnullodd ei holl rym i'w wrthwynebu ef a'i athrawiaeth, a chododd ryfeloedd ac erlidigaethau creulon yn ei erbyn ef. Ond fe fu llafur *Luther* a *Melancthon* yn yr Almaen, *Zuinglius* yn Switzerland, a duwinyddion enwog ereill, y rhai oeddynt yn gydoeswyr â Luther, ac yn enwedig *Calfin*, yr hwn a ymddangosodd wedi dechreuad y Diwygiad, ond eto a fu yn un o'r rhai enwocaf gyda 'r Diwygiad, yn foddion effeithiol i daenu y gwirionedd trwy y gwledydd hyny.

Derbyniwyd y grefydd ddiwygiedig yn fuan gan lawer o dywysogion yr Almaen, ac amrywiol o daleithau a theyrnasoedd Ewropaidd ereill, megys Lloegr, yr Alban, Sweden, Denmarc, Norway, rhan fawr o Ffraingc, Poland, Lithuania, Switzerland, a'r Iseldiroedd. Felly yr ydys yn meddwl i hanner y byd Cristionogol fod un waith o'r grefydd Brotestanaidd; ond y mae y Pabyddion wedi ennill tir er y pryd hyny, fel nad yw cyfran y Protestaniaid gymaint yn bresennol.

Fel hyn y dechreuodd Duw adfywhau ei eglwys yn ogon-

eddus drachefn, a dwyn yn mlaen deyrnas ei Fab, wedi y fath nos o dywyllwch dudew o godiad Anghrist hyd y pryd hwn. Gwnaethai y tystion dros y gwirionedd lawer ymdrech i gael diwygiad cyn hyn. Ond yn awr, wedi i amser pennodedig Duw ddyfod, aeth ei waith rhagddo gyda chyflymdra rhyfeddol; ac Anghrist, yr hwn a fuasai yn ymddyrchafu uwch uwch o'i ddechreuad hyd yr amser hwn, a dynwyd i lawr yn gyflym a disymwth; syrthiodd hanner y ffordd tua 'i hollol ddinystr, ac ni fu byth mwy yn alluog i godi i'w uchder blaenorol. Mae esponiwr diweddar, (Mr. Lowman,) yn ymddangos i eglurhau y pum' phiol gyntaf yn yr 16eg bennod o'r Datguddiad gyda mwy o debygolrwydd efallai na neb a fu o'i flaen, ac yn dywedyd fod y bummed phiol, yr hon a dywalltwyd ar orseddfaingc y bwystfil, yn arddangos yr hyn a gymerodd le yn amser y Diwygiad; ac yn priodoli y pedair phiol gyntaf i'r barnedigaethau mawrion a ddygodd Duw ar y llywodraethau Pabaidd yn flaenorol i'r Diwygiad. Dywedir yn Dat. 16. 10, 11: "A'r pummed angel a dywalltodd ei phiol ar orseddfaingc y bwystfil; a'i deyrnas ef a aeth yn dywyll: a hwy a gnoisant eu tafodau gan ofid, ac a gablasant Dduw y nefoedd, o herwydd eu poenau, ac o herwydd eu cornwydydd; ac nid edifarhasant oddiwrth eu gweithredoedd." Efe a dywalltodd ei phiol ar orseddfaingc y bwystfil, hyny yw, ar awdurdod a llywodraeth y Pab: mae y gair gorseddfaingc yn cael ei arfer felly yn yr ysgrythyr yn fynych. 1 Bren. 1. 37. "Megys y bu yr Arglwydd gyda 'm harglwydd y brenin, felly bydded gyda Solomon, a gwnaed yn fwy ei orseddfaingc ef na gorseddfaingc fy Arglwydd y brenin Dafydd;" hyny yw, ei lywodraeth a'i awdurdod a helaethwyd, a'i deyrnas a wnaed yn fwy gogoneddus.

Ond yn awr, yn y Diwygiad, y mae phiolau digofaint Duw yn cael eu tywallt ar orseddfaingc y bwystfil, nes y cafodd ei hysgwyd yn arswydus a'i lleihau. Cwtogwyd awdurdod a llywodraeth y Pab gymaint, o ran ehangder cystal ag urddas, fel y collodd oddeutu hanner ei lywodr-

aeth; a lleihäwyd yr awdurdod oedd ganddo o'r blaen, hyd yn nod yn y gwledydd Pabaidd. Nid ydyw yn awr yn cael ei barchu, ac ni ofnir ei awdurdod, fel yr arferid gynt. Y mae galluoedd Ewrop wedi dysgu peidio rhoddi eu gyddfau dan draed y Pab. Llew wedi colli ei ddannedd ydyw mewn cydmariaeth i'r hyn oedd unwaith. A phan ddarfu i'r Pab a'i offeiriaid ymgynddeiriogi wrth weled eu hawdurdod yn cael ei gwtogi gymaint trwy y Diwygiad, ac uno eu lluoedd i'w ddinystrio; eu cyfrwysdra, yr hyn oedd yn arferol o fod mór wasanaethgar iddynt, a fethodd. Gwelsant fod eu teyrnas yn llawn tywyllwch, ac nas gallent wneuthur dim; fel yr Aifftiaid, y rhai ni chodasant o'u heisteddleoedd am dri diwrnod. Yr oedd yr eglwys ddiwygiedig yn cael ei hamddiffyn, fel Lot a'r angelion yn Sodom, pan darawodd Duw y Sodomiaid â dallineb, fel nas gallent gael y drws. Y pryd hwn y cyflawnwyd yr hyn sydd i'w weled yn Iob 5. 11, &c. "Gan osod rhai isel mewn uchelder; fel y dyrchefir y galarus i iachawdwriaeth. Efe sydd yn dyddimu amcanion y cyfrwys, fel na allo eu dwylaw ddwyn dim i ben. Efe sydd yn dal y doethion yn eu cyfrwysdra: a chynghor y cyndyn a ddyddimir. Lliw dydd y cyfarfyddant â thywyllwch, a hwy a balfalant hanner dydd megys lliw nos. Yr hwn hefyd a achub y tlawd rhag y cleddyf, rhag eu safn hwynt, a rhag llaw y cadarn." Felly y siomwyd y gelynion beilchion hyn i bobl Dduw; a chan eu bod yn canfod eu hunain yn rhy analluog i ddal i fyny eu llywodraeth a'u hawdurdod, hwy a gnoisant eu tafodau megys gan ofid a chynddaredd.

II. Af rhagwyf i ddangos pa *wrthwynebrwydd* a wnaeth Satan a'i bleidwyr, i lwyddiant prynedigaeth Crist trwy y Diwygiad; a chaf sylwi, wrth fyned yn mlaen, pa cyn belled y siomwyd hwy, a pha cyn belled y buont yn llwyddiannus.

Mae y gwrthwynebiadau a wnaeth Satan i'r grefydd ddiwygiedig wedi bod gan mwyaf o'r natur ganlynol: 1. Trwy gymanfa gyffredinol o eglwys Rufain; 2. Trwy gydfradwriadau a chyfrwysdra dirgelaidd; 3. Trwy ryfeloedd cy-

hoeddus a goresgyniadau; 4. Trwy ormesiadau ac erlidigaethau creulon; ac yn 5. Trwy ddwyn i'r eglwys gredöau llygredig.

1. Y gwrthwynebiad cyntaf y sylwaf arno, yw yr hyn a wnaed gan offeiriaid eglwys Rufain mewn *cymanfa gyffredinol.* Cymanfa hynod *Trent* ydoedd hon, pa un a alwyd yn nghyd gan y Pab ychydig wedi dechreu y Diwygiad. Cyfarfu yn y gymanfa hon chwe' chardinal, deuddeg-ar-hugain o arch-esgobion, a dau gant ac wyth-ar-hugain o esgobion, heblaw lluaws aneirif o offeiriadau Pabaidd. Y gymanfa hon, a chymeryd i mewn ei holl eisteddiadau a'i gorphwysiadau (*intermission,*) a gynnaliwyd am bum' mlynedd ar hugain. Eu prif orchwyl yr holl amser hwn oedd trefnu mesurau i gadarnhau eglwys Rufain yn erbyn y Diwygiad. Ond profwyd nad oeddynt yn alluog i ddwyn eu hanturiaeth yn mlaen. Safodd yr eglwys ddiwygiedig er y cyfan a fedrai eu cymanfa fawr hwy wneyd, ac y mae eto yn sefyll. Felly cymanfa y rhai gwrthnysig a syrthiodd bendramwngl; eu teyrnas sydd lawn tywyllwch, ac y maent yn blino eu hunain yn ceisio y drws.

Fel hyn yr oedd eglwys Rufain, yn lle edifarhau am eu gweithredoedd, pan oedd y fath oleuni eglur yn cael ei ddal iddynt gan Martin Luther ac ereill o weision Duw, yn myned yn gyndyn, trwy gytundeb cyffredinol mewn cymanfa, yn eu llygredigaethau atgas a drygionus, ac yn ystyfnigo i wrthwynebu teyrnas Crist. Cafodd athrawiaethau ac arferiadau eglwys Rufain, yr hyn yn benaf a gollfernid gan y Diwygwyr, eu cadarnhau trwy osodiadau y gymanfa hon; a'r llygredigaethau, ar amryw olygiadau, eu dyrchafu yn uwch nac erioed o'r blaen. Bytheiriasant waradwyddiadau a melldithion cableddus yn erbyn y grefydd ddiwygiedig, a'r holl eglwys wrthdystiol a ysgymunwyd ac a felldigwyd. Yn ol y brophwydoliaeth, *hwy a gablasant Dduw.* Fel hyn y caledodd Duw eu calonau, gan fwriadu eu dystrywio.

2. Ceisiodd y Pabyddion ddadymchwelyd y Diwygiad trwy

*gynlluniau a bradwriaethau dirgelaidd.* Lluniwyd llawer bradwriaeth yn erbyn bywyd Luther. Yr oedd y Pabyddion yn cyd-ddychymygu pa fodd i'w gael oddiar y ffordd; a chan ei fod yntau yn ddyn hynod o eofn, efe a osododd ei hun yn fynych yn agored i beryglon yn achos Crist; ond eto cadwyd hwy yn rhyfeddol rhag ei niweidio, a chafodd farw yn y diwedd ar ei wely yn heddychol. Gosodwyd cynlluniau dirgelaidd heb rifedi i ddadymchwelyd y grefydd Brotestanaidd; yr hynotaf o ba rai, a'r un ymddengys a fu fwyaf tebygol o lwyddo, oedd hwnw yn amser Iago II. brenin Lloegr. Yr oedd cydfradwriaeth gref ar droed y pryd hwnw rhwng brenin Lloegr a Lewis XIV. o Ffraingc, y rhai oeddynt ill dau yn Babyddion, i ddiwreiddio y cyfeiliornad gogleddol, fel y galwent y grefydd Brotestanaidd, nid yn unig allan o Loegr, eithr o holl Ewrop; a threfnasant eu cynlluniau yn y fath fodd, fel yr oeddynt yn ymddangos yn sicr o gyrhaedd eu hamcan. Yr oeddynt yn meddwl ond iddynt ddiffodd y grefydd ddiwygiedig yn y tiriogaethau Prydeinig a'r Netherlands, y rhai oeddynt y rhan gryfaf, a phrif amddiffynfeydd yr achos Protestanaidd, y gallent ddyfod trwyddi yn hawdd gyda 'r gweddill. Ac erbyn eu bod wedi cael pethau yn barod, a'u hanturiaeth yn addfed i weithrediad, Duw, yn ei ragluniaeth, yn ddisymwth a darawodd eu holl gynlluniau yn chwilfriw, trwy y chwyldröad, ar ddyfodiad y brenin William a'r frenines Mari; yr hyn a roddodd ben ar eu holl amcanion. Cafodd yr achos Protestanaidd yn awr ei sefydlu yn fwy cadarn, trwy drosglwyddiad coron Lloegr i deulu Protestanaidd Hanover, a gwnaed Pabydd, trwy gyfansoddiad y genedl, yn anghymhwys i wisgo coron Lloegr byth mwy. Fel hyn yr oeddynt yn ymbalfalu yn y tywyllwch ganol dydd megys yn y nos, ac nis gallodd eu dwylaw ddwyn eu hanturiaeth i ben; eu teyrnas oedd yn llawn tywyllwch, a hwy a gnoisant eu tafodau gan ofid.

Wedi hyn, yn niwedd teyrnasiad y frenines Anne, gosodwyd dyfais faleisus ar waith i ddwyn yr un amcan oddi-

amgylch, trwy ddwyn i mewn y ffug-honydd Pabaidd; yr hyn, dan ddwyfol Ragluniaeth, a gyfarfu â siomedigaeth ddisymwth a hollol; fel y darfu i'r holl gynllwynion yn erbyn y Diwygiad trwy ddwyn y ffug honydd i'r orsedd.

3. Gwrthwynebwyd y Diwygiad yn fynych â *rhyfeloedd cyhoeddus* a *goresgyniadau.* Cyhoeddodd ymherawdwr yr Almaen ryfel yn erbyn Dug Saxoni, a'r prif ddynion oeddynt yn pleidio ac yn derbyn athrawiaeth Luther. Ond nis medrent gyrhaedd eu hamcan; methasant ddiffodd y Diwygiad. I'r un dyben wedi hyn, y cynnaliodd brenin Hispaen ryfel maith yn erbyn Holland a'r Iseldiroedd. Ond y rhyfeloedd creulon hyn a derfynasant yn hynod o anfanteisiol i'r eglwys Babaidd, gan iddynt fod yn achlysur i osod i fyny un o'r teyrnasoedd Protestanaidd galluocaf yn Ewrop. Dyben Hispaen, yn ei hymgyrch yn erbyn Lloegr yn amser y frenines Elizabeth, oedd diffodd a dadwreiddio y grefydd ddiwygiedig; ac i'r perwyl hwnw dygasant gyda hwynt yn eu llynges bob math o offerynau creulondeb, â pha rai yr oeddynt i arteithio y Protestaniaid a wrthodent ymwadu â'r grefydd ddiwygiedig. Ond eu hamcan a ddyddimwyd yn hollol, a'u llynges alluog a ddinystriwyd i fesur helaeth.

4. Gwrthwynebodd Satan y Diwygiad âg *erlidigaethau creulon.* Yr oedd yr erlidigaethau y blinwyd y Protestaniaid â hwy gan eglwys Rufain, ar amryw olygiadau yn myned yn mhell tu hwnt i unrhyw o'r erlidigaethau Paganaidd. Felly profodd Anghrist ei hun y gelyn chwerwaf a chreulonaf a gafodd eglwys Crist erioed yn y byd, yn hyn cystal ag yn mhob peth arall; yn unol â'r desgrifiad a roddir o eglwys Rufain, (Dat. xvii.) "A mi a welais y wraig yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu." Pen. 18. 24. "Ac ynddi y caed gwaed prophwydi a saint, a phawb a'r a laddwyd ar y ddaear."

Yr oedd yr erlidigaethau Paganaidd yn hynod o arswydus; ond yn bresennol y mae eglwys Rufain yn gwneyd math o welliant ar erlidigaeth, maent yn myfyrio ynddi, ac yn ei

diwyllio, fel celfyddyd neu ganghen o wybodaeth. Cafwyd allan y fath ffyrdd i boenydio ac arteithio, ag sydd yn myned tu hwnt i ddychymyg dynion cyffredin, neu bobl na buont yn efrydu pethau o'r fath, ac yr oeddynt yn myned heibio i ddyfeisiadau pob oes flaenorol. Ac fel y byddai i'r erlidigaeth gael ei dwyn yn mlaen i fod yn fwy effeithiol, sefydlwyd cymdeithasau o ddynion yn amrywiol barthau y gwledydd Pabaidd, gorchwyl pa rai oedd efrydu, gwellhau, ac arfer erlidigaeth i'r perffeithrwydd eithaf, y rhai a elwid *chwil-lysoedd.* Gall darllen hanes yr erlidigaethau Pabaidd, a'u chwil-lysoedd, roddi meddylddrych o'u creulonderau, yr hyn nis gellir ei gyfleu mewn ychydig eiriau.

Pan gychwynodd y Diwygiad, dechreuodd y bwystfil â'r saith ben a'r deg corn ffyrnigo yn ddychrynllyd. Adnewyddodd eglwys Rufain ei herlidigaeth yn erbyn y Waldensiaid tlodion, a nifer mawr o honynt a arteithiwyd yn greulon, ac a roddwyd i farwolaeth. Cymerodd erlidigaethau arswydus le mewn amrywiol barthau o'r Almaen, yn fuan ar ol i'r Diwygiad dóri allan, yn enwedig yn Bohemia, yr hon a barhäodd ddeng mlynedd ar hugain; trwy ba un y tywalltwyd cymaint o waed yn achos crefydd, fel y mae un ysgrifenydd yn ei gydmaru i helaethrwydd dyfroedd afonydd mawrion yr Almaen. Yr oedd Poland, Hungari, a Lithuania, yr un modd, yn gorlifo gan waed Protestaniaid.

Bu yr erlidigaethau creulon hyn, ac ereill, yn foddion i ddiffodd y grefydd ddiwygiedig i fesur mawr yn Bohemia, y Palatinate, a Hungari, y rhai oeddynt o'r blaen yn wledydd Protestanaidd. Fel hyn y cyflawnwyd yr hyn a ragfynegasid am y corn bychan. Dan. 7. 20, 21. "Ac am y deg corn oedd ar ei ben ef, a'r llall yr hwn a gyfodasai, ac y syrthiasai tri o'i flaen; sef y corn yr oedd llygaid iddo, a genau yn traethu mawrhydri, a'r olwg arno oedd yn arwach na 'i gyfeillion. Edrychais, a'r corn hwn a wnaeth ryfel ar y saint, ac a fu drech na hwynt." A'r hyn a ragddywedwyd am y bwystfil â'r saith ben a'r deg corn, yn Dat. 13. 7. "A rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu

hwynt: a rhoddwyd iddo awdurdod ar bob llwyth, ac iaith, a chenedl."

Nid oedd Holland a'r Iseldiroedd ereill am flynyddoedd lawer yn ddim amgen na drych o'r creulonderau mwyaf echryslawn a thôr-calonus, yn llifeirio o waed Protestaniaid, dan ddwylaw didrugaredd yr Hispaeniaid, i'r rhai yr oeddynt y pryd hyny yn ddeiliaid. Ond fe siomwyd y diafol i fesur helaeth yn yr erlidigaeth hon, gan iddi fod yn achlysur i ran fawr o'r Netherlands fwrw ymaith iau Hispaen, a gosod i fyny deyrnas Brotestanaidd gyfoethog a galluog, yr hon sydd wedi bod yn amddiffynfa gref i'r achos Protestanaidd byth wedi hyny.

Mae Ffraingc hefyd wedi bod, er cychwyniad y Diwygiad, yn ddrych o'r creulonderau arswydus a ddyoddefodd y Protestaniaid, mwy efallai, ar ryw olygiadau, nac un wlad arall. Ar ol arfer llawer o greulonderau tuag at y Protestaniaid yn y wlad hono, codwyd erlidigaeth yn eu herbyn yn y flwyddyn 1571, yn nheyrnasiad Charles IX. brenin Ffraingc. Dechreuodd yr erlidigaeth hon gyda chelanedd ddychrynllyd, a *lladdwyd*, fel yr ymffrostiai y brenin ei hun, *ddeng mil a thriugain mewn ychydig ddyddiau;* a meddylir iddo ferthyru *tri chan' mil* o'i ddeiliaid, yn ystod yr holl erlidigaeth. A chyfrifir i *bedwar-ar-bymtheg ar hugain o dywysogion, cant ac wyth a deugain o ddugiaid, dau gant a phedwar-ar-ddeg ar hugain o farwniaid, cant a saith a deugain o filoedd, pum' cant a deunaw o foneddigion, a saith gant a thriugain o filoedd o'r werin*, gael eu merthyru yn achos y grefydd Brotestanaidd oddeutu yr amser yma, yn ystod deng mlynedd ar hugain.

Ond yr oedd yr erlidigaethau yn nheyrnasiad Lewis XIV., o ran llymdra eu creulonder, yn llawer mwy erchyll na'r rhai hyn; a meddylir yn wir eu bod yn myned tu hwnt i bob erlidigaeth arall; a chan iddynt, o herwydd teyrnasiad maith y brenin hwn, barhau mór hir, bu agos iddynt ddiwreiddio y grefydd Brotestanaidd o'r deyrnas hono, lle y blodeuasai yn flaenorol nifer o eglwysi Protest-

anaidd. Fel hyn y rhoddwyd i'r bwystfil wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt.

Bu hefyd erlidigaeth ddychrynllyd yn Lloegr yn amser y frenines Mari, yn ystod yr hon y cafodd nifer mawr eu llosgi yn fyw. Ac, er i'r grefydd Brotestanaidd gael ei sefydlu trwy gyfraith am y rhan fwyaf o'r amser, eto fe gododd yr uch-eglwyswyr erlidigaethau chwerwon ar ol hyn, y rhai oeddynt, ar amryw ystyriaethau, yn tebygoli i'r eiddo y Pabyddion. Hyn fu yr achos i'n cyndadau ffoi o'u gwlad gynnwynol, a dyfod drosodd ac ymsefydlu yn y wlad hon, yr hon oedd y pryd hwnw yn anialwch gwyllt. A'r erlidigaethau hyn a barhäwyd heb ond ychydig seibiant hyd ddyfodiad y brenin William i'r orsedd.

Bu yr Alban hefyd am lawer o flynyddau yn ddrych o greulonderau gwaedlyd oddiar ddwylaw yr uch-eglwyswyr, y rhai nid oeddynt ond ychydig yn fyr o fod cynddrwg a'r erlidigaeth Babaidd yn nyddiau y frenines Mari, ac, ar lawer o ystyriaethau, yn mhell tu hwnt iddi, yr hyn a barhäodd hyd eu gwaredigaeth gan y brenin William.

Yr oedd Iwerddon hefyd megys yn gorlifo gan waed Protestanaidd. Llofruddiwyd, yn y deyrnas hono, mewn ychydig ddyddiau yn amser Charles I. o Loegr, fwy na *dau gan' mil o Brotestaniaid*, yn y modd mwyaf arteithiol; y Pabyddion, trwy gytundeb dirgelaidd, a gydgodasant ar amser pennodedig, gan fwriadu lladd pob Protestant yn y deyrnas ar unwaith.

Heblaw y rhai hyn, bu hefyd erlidigaethau creulon yn yr Eidal a'r Hispaen, a manau ereill, y rhai nis gallaf yn awr eu hadrodd. Fel hyn y darfu i'r diafol a'i brif weinidog Anghrist, ymgynddeiriogi yn eu traha a'u creulondeb yn erbyn eglwys Crist! ac fel hyn yr ymfeddwodd y butain Fabilonaidd ar waed saint a merthyron Iesu! Bu yr erlidigaethau hyn yn achlysur i leihau yr eglwys Brotestanaidd yn ddirfawr! Eto ni buont yn orchfygol; canys y mae yr eglwys Brotestanaidd yn cael ei chynnal o hyd, a Christ yn dal i gyflawnu ei addewid, *a phyrth uffern nis gorchfygant hi.*

5. Y math diweddaf o wrthwynebiad a wnaeth Satan i'r Diwygiad oedd trwy *opiniynau llygredig*. Y gwrthwynebiad cyntaf o'r natur yma, a wnaed gan ddilynwyr Münster a phenboethiaid ereill, y rhai a gyfodasant yn yr Almaen oddeutu pedair neu bum' mlynedd wedi dechreu y Diwygiad. * * * Yr oeddynt yn hynod o nwydwyllt ac afradlawn, ac yn dal llawer o opiniynau llygredig iawn. Un o'u daliadau oedd, Na ddylai awdurdod wladol fod, ac mai cyfreithlon oedd gwrthryfela yn ei herbyn. Ac oddiar yr egwyddor yma gwrthodasant ufuddhau i'r awdurdodau, nac unrhyw gyfraith ddynol; ac ymgasglasant yn nghyd yn fyddinoedd lluosog, gan amddiffyn eu hunain yn erbyn y llywodraethwyr gwladol, a pharasant derfysg trwy yr holl Almaen, a chadwasant hi yn y cyflwr hwnw ennyd o amser.

Y gwrthwynebiad nesaf o'r natur yma i'r Diwygiad, a wnaed gan *ffug-ysbrydolwyr*. Gelwir y rhai hyny a honant iddynt gael eu cynysgaeddu â'r Ysbryd Glan, fel y prophwydi gynt, yn ffug-ysbrydolwyr. Cychwynodd y rhai hyn yn yr Almaen oddeutu deng mlynedd wedi i Luther ddechreu y Diwygiad; ac fe gyfododd amrywiol bleidiau o honynt, y rhai oeddynt yn hynod o orwyllt ac afrëolus. * *

Y nesaf o'r rhai hyn oedd y *Sociniaid*, y rhai a gawsant eu dechreuad yn Poland, trwy bregethiad *Lælius Socinus* a *Faustus Socinus*. Yr oeddynt yn dal allan nad oedd Crist ond dyn yn unig, ac yn gwadu iawn Crist, a'r rhan fwyaf o athrawiaethau sylfaenol y grefydd Gristionogol. Cafodd eu cyfeiliornad ledaeniad helaeth er y pryd hwnw yn mysg y Protestaniaid yn Poland, yr Almaen, Holland, Lloegr, a manau ereill. * * *

Wedi hyn, cafodd *Ariaeth* adfywiad. Bu agos i'r cyfeiliornad hwn, ychydig wedi amser Cystenyn, lyngcu yr holl fyd Cristionogol i fyny, megys y bygythiodd yr afon a fwriasai y sarph allan o'i safn lyngcu y wraig. Cafodd y cyfeiliornad hwn ledaeniad helaeth y blynyddau diweddaf. Ei bleidwyr ydynt yn dal nad yw Crist ond crëadur yn unig, er eu bod yn ei addef y mwyaf o'r holl grëaduriaid.

Peth arall ag sydd wedi cael lledaeniad helaeth yn mysg Protestaniaid yn ddiweddar, ac yn enwedig yn Lloegr, yw *Gwrthgrediniaeth.* Mae y Gwrthgredinwyr yn bwrw ymaith y grefydd Gristionogol yn hollol, ac yn anffyddwyr proffesedig. Addefant un Duw mae yn wir, ond haerant nad oes y fath beth a chrefydd ddatguddiedig, nac un math o air Duw; a dywedant na roddodd Duw un goleuni arall i ddynolryw i rodio wrtho namyn eu rheswm eu hunain.

III. Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos pa fath *lwyddiant* a gafodd yr efengyl yn yr amseroedd diweddaf hyn yn yr eglwys ddiwygiedig; gan gymeryd i mewn 1. Y diwygiad yn yr athrawiaeth a'r addoliad yn y gwledydd a elwir yn Gristionogol; 2. Llwyddiant yr efengyl yn mysg y Paganiaid; 3. Yr adfywiad a fu ar grefydd o ran dylanwad ac ymarferiad.

1. Mewn perthynas i'r diwygiad mewn *athrawiaeth.* Cymerodd diwygiad mawr gyda golwg ar hyn, le yn ddiweddar yn ymherodraeth Rwssia, yr hon sydd wlad ëang ei thiriogaeth a lluosog ei thrigolion. Cynifer o'r bobl a addefant eu hunain yn Gristionogion ydynt yn dal athrawiaeth Eglwys Groeg; ond yr oeddynt hyd o fewn ychydig yn ol yn hynod o anwybodus ac ofergoelus. Ymroddodd eu hymerawdwr diweddar, Petr Fawr, i ddiwygio moesau deiliaid ei lywodraeth, a chymerodd lawer o drafferth i'w dwyn allan o'u tywyllwch, ac i roddi iddynt addysg grefyddol. Ac er cyrhaedd hyny, gosododd i fyny ysgolion, gorchymynodd i'r Bibl gael ei argraffu yn iaith y wlad, a gwnaeth gyfraith fod i bob pen teulu gael yr ysgrythyrau sanctaidd i'w meddiant, ac na cha'i neb briodi nes y byddai yn alluog i'w darllen. Purodd yr eglwysi hefyd o lawer *o'u hofergoelion,* fel y mae y grefydd a addefir ac a broffesir yno yn bresennol yn llawer nes nac oedd i'r eiddo y Protestaniaid. Rhoddodd yr ymherawdwr hwn lawer o gefnogaeth i arfer y grefydd Brotestanaidd yn ei fröydd. Ac er y pryd hwnw y mae

Rwssia wedi dyfod yn wlad oleu, mewn cydmariaeth i'r hyn ydoedd hanner can' mlynedd yn ol.

2. Mewn perthynas i *ledaeniad yr efengyl yn mysg y Paganiaid*, sylwaf ar dri pheth.

(1.) Ei lledaeniad yma yn *America*. Yr oedd y cyfandir ëang hwn yn hollol anadnabyddus i bob cenedl Gristionogol hyd o fewn yr amseroedd diweddaf hyn. Ni wyddid fod y fath gyfran o'r ddaear yn bodoli, er ei bod yn llawn iawn o bobl; ac felly yr oedd y rhan yma o'r byd wedi ei sicrhau megys gan y diafol iddo ei hun, allan o gyrhaedd goleuni yr efengyl, ac felly yr oedd ei lywodraeth drostynt allan o afael aflonyddwch. Yma yr oedd yn cael ei addoli fel duw gan amryw o'r llwythau Indiaidd o oes i oes, tra yr oedd yr efengyl yn cael ei chyfyngu i'r ochr arall i'r ddaear. Mae rhai yn meddwl i'r diafol, wedi ei daro gan arswyd a syndod wrth weled llwyddiant rhyfeddol yr efengyl yn ystod y tri chan' mlynedd cyntaf wedi Crist, a chwymp yr ymherodraeth Baganaidd yn amser Cystenyn—yn canfod cynydd cyflym yr efengyl, ac yn ofni y byddai i'w deyrnas Baganaidd ef gael ei hollol ddadymchwelyd drwy y byd—arwain pobl o'r cyfandir arall i America, fel y byddent yn ddigon pell o gyrhaedd yr efengyl, ac y byddai iddo yma eu meddiannu mewn llonyddwch, a theyrnasu arnynt fel eu duw.—Dywed amryw ysgrifenwyr, fod gan rai o'r llwythau Indiaidd, pan ddaeth yr Ewropiaid gyntaf i America, draddodiad yn eu mysg, iddynt gael eu harwain ar y cyntaf i'r cyfandir hwn gan eu duw, yr hwn oedd yn myned o'u blaen hwy mewn arch.

Pa fodd bynag am hyn, mae yn ddigon sicr i'r diafol fwynhau llywodraeth lonydd yma ar yr Indiaid tlodion am lawer o oesoedd. Ond o fewn yr amseroedd diweddaf, anfonodd Duw ei efengyl i'r parthau hyn, ac yn awr y mae yr eglwys Gristionogol yn bodoli yma yn America, lle nad oedd o'r blaen ond y tywyllwch Paganaidd mwyaf dudew. Y mae rhan fawr o'r wlad yn awr yn llawn o Fiblau, ac y mae ynddi, o'r hyn lleiaf, *ffurf* o addoliad y gwir Dduw a

Iesu Grist, lle ni chlywsid son am enw y Gwaredwr o'r blaen. Ac er na bu ond ychydig lwyddiant ar yr efengyl yma yn mhlith y Paganiaid, mewn cydmariaeth i'r hyn a ddymunid, eto fe fu rhywbeth teilwng o sylw. Mae amryw o'r Indiaid, ar y cyntaf cystal ag yn ddiweddar, wedi dangos awydd nodedig am gael eu haddysgu yn y grefydd Gristionogol.

Pa mór fychan bynag ydyw llwyddiant yr efengyl wedi bod yn mysg y Paganiaid yma yn America hyd yn hyn, meddyliwyf y gellir edrych ar ddarganfyddiad rhan mór helaeth o'r byd, a dygiad yr efengyl iddi, fel un peth trwy yr hyn y mae Rhagluniaeth ddwyfol yn parotoi y ffordd i'r amseroedd ardderchog sydd yn aros yr eglwys, pan y bydd i deyrnas weledig Satan gael ei dadymchwelyd trwy yr holl fyd trigianol, o bob tu, ac ar ei holl gyfandiroedd. Pan ddelo yr amseroedd hyn, yna bydd i'r efengyl yn ddiamheuol gael llwyddiant gogoneddus, a holl breswylwyr y byd newydd-ddarganfyddol hwn a ddeuant yn ddeiliaid o deyrnas Crist, cystal a holl derfynau ereill y ddaear. Yn ol pob tebygolrwydd, efelly y trefnodd Rhagluniaeth iddi fod, fel y byddai i gwmpawd y môrwr (yr hwn sydd offeryn o ddyfais ddiweddar, trwy yr hwn y galluogir dynion i fordwyo dros y cefnfor lletaf, tra nad oeddynt o'r blaen yn beiddio anturio nepell oddiwrth y tir) brofi yn barötoad o'r hyn y mae Duw wedi bwriadu ei ddwyn oddiamgylch yn amseroedd gogoneddus yr eglwys, sef anfon allan yr efengyl i ba le bynag y preswylia plant dynion, er pelled fyddont, ac er lleted fyddo y moroedd a'u gwahana oddiwrth y rhanau hyny o'r ddaear ag sydd wedi eu Cristioneiddio yn barod.

(2.) Bu hefyd yn ddiweddar gryn lwyddiant ar yr efengyl yn mhlith y Paganiaid yn ymherodraeth *Rwssia.* Sylwais yn barod ar y diwygiad a gymerodd le yno yn mysg y rhai a elwir yn *Gristionogion:* ond am y Paganiaid yr wyf yn llefaru yn awr. Y rhan fwyaf o Tartari, gwlad Baganaidd, a ddygwyd yn ddiweddar dan lywodraeth Rwssia; ac fe

ddarfu i nifer mawr o'r trigolion er 's ychydig yn ol, ymwadu â'u Paganiaeth, a chofleidio y grefydd Gristionogol.

(3.) Y mae llwyddiant rhyfeddol wedi bod yn ddiweddar ar y grefydd Gristionogol yn mhlith y Paganiaid yn yr *India Ddwyreiniol;* ac y mae llawer, yn neillduol ar dueddau *Malabar*, wedi dyfod i gofleidio y grefydd Brotestanaidd, yn benaf trwy lafur cenhadon o Ddenmarc, y rhai ydynt wedi sefydlu ysgolion yn eu plith, a gosod i fyny argraff-wasg i argraffu Biblau, a llyfrau ereill er hyfforddiant i'r bobl, yn eu hiaith eu hunain, gyda llwyddiant mawr.

3. Y math diweddaf o lwyddiant y sylwaf arno, yw yr *adfywiad* o ran grym ac ymarferiad sydd ar grefydd. Eithr ni chrybwyllaf yma ond dwy enghraifft.

(1.) Bu yn ddiweddar adfywiad rhagorol o ran grym ac ymarferiad ar grefydd yn yr Almaen, trwy ymdrechiadau duwinydd enwog, *Augustus Herman Franc*, cadeirdraw duwinyddol yn Halle, Saxoni. Gan ei fod yn ŵr enwog am ei elusengarwch, cafodd y gwaith mawr a weithredodd Duw trwyddo ei ddechreu trwy osodiad elusen-flwch wrth ddôr ei fyfyr-gell, i'r hwn y bwrid ychydig roddion, â'r rhai y prynid llyfrau i addysgu y tlodion. Ac fe welodd Duw yn dda fendithio ei gynllun yn rhyfeddol, ac felly adfywhäwyd ysbryd elusengarwch gymaint, fel y daeth yn alluog yn mhen ychydig i godi ysgoldai er lles plant tlodion, a thŷ amddifaid er eu cynnaliaeth a'u haddysgiaeth. O'r diwedd, yr oedd yn agos i bum' cant o blant yn cael eu cynnal a'u haddysgu mewn gwybodaeth a duwioldeb trwy haelionusrwydd ereill; a pharhäodd y rhif i gynyddu fwy fwy am amryw flynyddoedd. Dilynwyd hyn â diwygiad ac adfywiad rhyfeddol ar grefydd ac ysbryd duwioldeb, yn ninas ac athrofa Halle; yr hyn a gafodd ddylanwad effeithiol mewn ardaloedd ereill o'r Almaen. Ymddengys i'w henghraifft gynhyrfu lluaws i ddilyn eu llwybr.

(2.) Peth arall, y byddai yn angharedig ynom beidio ei goffâu, ydyw y tywalltiad hynod o Ysbryd Duw a fu yn ddiweddar yn y parth hwn o *Loegr Newydd.* Ond ni bydd

i mi roddi desgrifiad neillduol o hono. Y mae llawer wedi bod yn llygad-dystion o hono, a gobeithiwyf fod lluaws yn deimladadwy o'i fuddioldeb.

IV. Deuaf yn awr i ystyried *cyflwr presennol* pethau yn y byd, gyda golwg ar eglwys Crist a llwyddiant ei brynedigaeth. A hyn a wnaf trwy ddangos pa fodd y mae pethau yn awr, mewn cydmariaeth â'r hyn oeddynt yn amseroedd cyntaf y Diwygiad. Ac, yn 1. Pa fodd y mae agwedd pethau wedi cyfnewid er gwaeth; 2. Pa fodd y cyfnewidiodd er gwell.

1. Mae agwedd pethau wedi cyfnewid o'r hyn ydoedd yn nechreuad y Diwygiad, er *gwaeth;* yn enwedig ar y tri golygiad hyn.

(1.) Mae yr eglwys ddiwygiedig wedi *lleihau* llawer. Meddylir i'r Diwygiad ar y cyntaf gymeryd lle trwy hanner y byd Cristionogol, oddyeithr Eglwys Groeg; neu bod unwaith gymaint o Brotestaniaid a Phabyddion. Ond nid ydyw felly yn bresennol: mae yr eglwys Brotestanaidd wedi lleihau yn ddirfawr. Yr oedd gynt luaws o Brotestaniaid yn *Ffraingc;* a nifer o eglwysi Protestanaidd blodeuog wedi eu planu trwy yr holl wlad hono, y rhai a arferent gyfarfod mewn cymanfâoedd, a chynnal dysgyblaeth hynod o rëolaidd. Yr oedd eglwys Brotestanaidd Ffraingc yn gwneyd i fyny ran fawr o ogoniant y Diwygiad. Ond yn bresennol y mae pethau yn wahanol iawn: mae yr eglwys hon wedi ei dryllio a'u gwasgaru, ac yn awr nid oes ond ychydig eglwysi Protestanaidd yn yr holl deyrnas hono. Mae yr achos Protestanaidd wedi lleihau yn fawr yn yr *Almaen* hefyd. Yr oedd amryw o dywysogion breninol y wlad hono gynt yn Brotestaniaid, olyddion y rhai ydynt Babyddion; megys yr Etholydd Palatine, ac Etholydd Saxoni. Yr oedd teyrnas *Bohemia* gynt yn wlad Brotestanaidd, ond yn bresennol y mae yn nwylaw y Pabyddion. Bu *Hungari* gynt yn wlad Brotestanaidd; ond y mae y Protestanaid wedi lleihau yn fawr yno, ac wedi eu darostwng i fesur helaeth gan erlidigaethau. Ac nid ydyw yr

eglwys Brotestanaidd wedi ennill nemawr o dir oddiar eglwys Rufain yn ddiweddar.

(2.) Peth arall sydd yn ffynu yw *penryddid* mewn egwyddorion a daliadau. Nid oes y fath gynydd ar ysbryd union-gred yn awr ag oedd y pryd hyny; nid oes ond ychydig o eiddigedd dros athrawiaethau cyfrinol ac ysbrydol Cristionogaeth yn awr; ac ni chawsant erioed eu dirmygu gymaint ag yn yr oes bresennol; yn enwedig yn Lloegr, prif deyrnas y Diwygiad. Yr egwyddorion, ar ba rai y mae grym duwioldeb yn ymddibynu, ydynt, i raddau helaeth, wedi diflanu yn y deyrnas hono. * * * Nid yw hanesyddiaeth yn rhoddi cyfrif am un oes yn yr hon y gwrthgiliodd cynifer o'r rhai a ddygwyd i fyny yn ngoleuni yr efengyl at anffyddiaeth a'r oes hon; ni bu erioed gymaint o ymwadu â'r cwbl o grefydd ddatguddiedig; ni bu un oes yn yr hon yr oedd mwy o wawdio a dirmygu ar efengyl Crist gan y rhai hyny a ddygwyd i fyny yn ei goleuni na'r un bresennol.

(3.) Y mae llawer llai o ffyniant ar rym *duwioldeb* nac oedd yn nechreuad y Diwygiad. Yr oedd yn cydfyned â'r Diwygiad cyntaf dywalltiad gogoneddus o Ysbryd Duw, nid yn unig i droi lluoedd oddiwrth Babyddiaeth at y wir grefydd mewn ychydig amser, ond i droi lluoedd at Dduw a gwir dduwioldeb. Ond yn bresennol y mae gwir dduwioldeb mewn cyflwr nychlyd iawn; ïe, ymddengys ei bod yn cael ei dirmygu a'i galw yn *benboethder* a gwallgofrwydd. Edrychir ar bobl wir grefyddol fel rhai wedi colli arnynt eu hunain; ac y mae drygioni a halogedigaeth yn cynyddu yn arswydus, ac yn bygwth ysgubo pob peth fel cenllif o'i flaen.

2. Dangosaf ar ba olygiadau y mae pethau wedi cyfnewid er *gwell*, oddiwrth yr hyn oeddynt yn nechreu y Diwygiad.

(1.) Y mae awdurdod a dylanwad y *Pab* wedi lleihau yn ddirfawr. Er ei fod wedi ennill llawer o dir ac ehangder llywodraeth oddiar amseroedd cyntaf y Diwygiad, eto y mae wedi colli o ran gradd ei awdurdod a'i ddylanwad Mae y phïol a dywalltwyd ar orseddfaingc y bwystfil yn ne

chreuad y Diwygiad, or lleihad mawr i'w rwysg a'i awdurdod yn y byd, yn parhau i redeg byth wedi hyny. Daeth y Pab, yn fuan wedi i'r Diwygiad dóri allan, yn llawer llai ei barch gyda thywysogion Ewrop nac o'r blaen; ac y mae yn parhau i ddyfod lai lai. Ymddengys nad ydyw amryw o'r tywysogion Pabaidd eu hunain yn awr yn cymeryd nemawr mwy o sylw o hono nac a feddyliont yn ddigonol i ateb eu dybenion eu hunain; o'r hyn y cymerodd amrywiol brofion ac enghraifftiau le yn ddiweddar.

(2.) Y mae llawer llai o *erlid* yn bresennol nac oedd yn amseroedd cyntefig y Diwygiad. Y mae rhyw ranau o'r eglwys y pryd hwn dan erlidigaeth, ac y mae yn debyg mai felly bydd hyd oni ddelo dydd dyoddefaint a gwewyr yr eglwys i ben, yr hyn ni chymer le hyd gwymp Anghrist. Ond nid ydyw yn awr yn gyfryw ag ydoedd gynt. Nid yw yn ymddangos fod yr un *ysbryd* erlidigaethus yn ffynu; y mae ei ffyrnigrwydd yn lleihau, hyd yn nod yn mysg tywysogion Pabaidd. Ymddengys fod anfadrwydd gelynion Crist, a'r gwrthwynebrwydd i'w achos, yn rhedeg ffordd arall. Dirmygu a gwawdio pob math o grefydd yw y mympwy presennol; ac fe ymddengys fod math o ysbryd didaro yn ei chylch. Pa fodd bynag, y mae agwedd pethau yn bresennol yn well nac y bu o gymaint ag y mae llai o erlid.

3. Y mae cynydd mawr ar *wybodaeth*. Yr oedd dysgeidiaeth mewn cyflwr mór nychlyd, yn amseroedd tywyll Pabyddiaeth, cyn y Diwygiad, fel yr ymddengys fod y byd wedi ei orchuddio âg anwybodaeth barbaraidd. Yr oedd llawer o'r offeiriaid yn anwybodus wrthun. Cafodd dysgeidiaeth adfywiad gyda'r Diwygiad, llawer o'r hyn a ellir briodoli i'r gelfyddyd o argraffu, yr hon a ddyfeisiwyd ychydig cyn hyny. Y mae dysgeidiaeth yn parhau i gynyddu fwy fwy er y pryd hwnw, ac y mae erbyn heddyw, yn ddiamheuol, wedi cael ei dyrchafu yn llawer uwch nac y cafodd erioed o'r blaen: ac er nad ydyw y rhan fwyaf o'r dysgedigion yn gwneyd defnydd da o honi, eto y mae cynydd dysgeidiaeth ynddo ei hun yn destun llawenydd, a phe gwneid defnydd

addas o honi, byddai yn llawforwyn ragorol i grefydd: ac y mae yn ddawn, ond i Dduw roddi calon i ddynion, a'u gesyd dan fantais fawr i wneuthur llawer tuag at ddwyn yn mlaen deyrnas Crist, a lles eneidiau dynion. Ymddengys i Daniel ragfynegu y byddai i ddysgeidiaeth a gwybodaeth amlhau yn ddirfawr cyn gwawriad y dyddiau gogoneddus. Dan. 12. 4. "Tithau, Daniel, cau ar y geiriau, a selia y llyfr hyd amser y diwedd: llawer a gynniweiriant, a gwybodaeth a amlhëir." A pha gan lleied bynag o ddefnydd a wneir o ddysgeidiaeth yn awr i ddyrchafu crefydd, eto y mae genym le i obeithio fod yr amser yn nesau pan y bydd i Dduw wneyd defnydd mawr o honi i ddyrchafu teyrnas Crist.

Ymddengys fod Duw yn gweithredu drosodd drachefn yn ei ragluniaeth yn awr yr hyn a wnaeth ychydig cyn dyfodiad Crist. Yr oedd llwyddiant mawr ar ddysgeidiaeth pan y daeth Crist i'r byd; ac eto ni fu drygioni yn fwy blodeuog erioed na'r pryd hwnw. Gwelodd Duw yn dda oddef i ddysgeidiaeth ddynol godi i'r fath uchder cyn iddo anfon yr efengyl i'r byd, fel y byddai i'r byd weled annigonolrwydd eu holl ddoethineb eu hunain i gyrhaedd gwybodaeth o Dduw, heb efengyl Crist ac addysg ei Ysbryd. A phan "yn noethineb Duw, nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw, rhyngodd bodd i Dduw, trwy ffolineb pregethu, gadw y rhai sydd yn credu." Pan ddechreuodd yr efengyl lwyddo gyntaf heb gymhorth doethineb ddynol, yna Duw a welodd yn dda wneyd defnydd o ddysgeidiaeth fel llaw-forwyn iddi. Felly y mae dysgeidiaeth yn frigog iawn yn y byd yn awr, yn mhell tu hwnt i'r hyn ydoedd pan ymddangosodd Crist; ac nid ydyw y byd, trwy eu dysgeidiaeth a'u doethineb, yn adnabod Duw, ond ymddengys eu bod yn crwydro mewn tywyllwch ac yn hudoledig druenus, yn tramgwyddo ac yn syrthio allan mewn materion crefyddol, megys ganol nos. Oherwydd eu bod yn ymddiried yn eu dysgeidiaeth, y maent yn ymbalfalu ganol dydd megys yn y nos. Mae dysgedigion yn hynod o wahanol eu barnau yn nghylch crefydd,

ac yn rhedeg i bob math o gyfeiliornadau llygredig, niweidiol ac ynfyd. Dirmygant ymostwng eu rhesymau i'r datguddiad dwyfol, na chredu unrhyw beth sydd uwchlaw eu hamgyffrediadau; ac felly wrth fod yn ddoeth yn eu golwg eu hunain, aethant yn ynfydion, ac hyd yn nod yn wageddus yn eu dirnadau; tröant wirionedd Duw yn gelwydd, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd. Rhuf. 1. 21, &c.

Ond eto, wedi i'r Arglwydd roddi dangosiad cyflawn i ddynion o annigonolrwydd doethineb a dysgeidiaeth ddynol, a phan ddelo yr amser gosodedig y bydd tywalltiad gogoneddus o Ysbryd Duw, pan y byddo iddo ef ei hun trwy ddylanwadau digyfrwng oleuo meddyliau dynion; yna nyni a allwn hyderu y bydd i Dduw wneyd defnydd o gynydd dysgeidiaeth, fel moddion i ddyrchafu teyrnas ei Fab yn ogoneddus. Y pryd hyny y bydd dysgeidiaeth ddynol yn wasanaethgar i ddeall yr ysgrythyrau, ac i esponio athrawiaethau Cristionogaeth yn eglur, a'u hamddiffyn yn ogoneddus. Ac nid oes un amheuaeth i Dduw yn ei ragluniaeth, yn ddiweddar, roddi y gelfyddyd o argraffu i'r byd, a'r fath gynydd mawr ar ddysgeidiaeth, i barotoi y ffordd i gwblhau yr hyn a fwriadodd efe i'w eglwys yn y dyddiau llwyddiannus sydd yn agosâu. Fel hyn y rhoddir golud y pechadur i'w gadw i'r cyfiawn. Diar. 13. 22.

---

## PEN. VI.

*Defnydd oddiwrth y Dygwyddiadau a gymerasant le.*

GAN fy mod yn awr wedi dangos pa fodd y dygwyd gwaith y prynedigaeth yn mlaen o gwymp dyn hyd yr amser presennol, dymunwn, cyn myned yn mhellach, wneyd ychydig GASGLIADAU.

I. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn ganfod tyst-

iolaeth gref dros wirionedd y grefydd Gristionogol, ac mai gair Duw yw *yr ysgrythyrau.* Gellir casglu tri rheswm yn neillduol.

1. Gellir ymresymu dros hyn oddiwrth y *gwrthwynebiad* creulon a greddfol a ddangoswyd *gan y byd annuwiol* drwy yr holl amseroedd yn erbyn y grefydd hon. Mae y grefydd a gyffesir gan eglwys Dduw o'r dechreuad, er i'r goruchwyliaethau newid, wedi bod yr un, o ran sylwedd, bob amser. Nid yw eglwys Dduw ond yr un gymdeithas o'r dechreuad. Mae yn amlwg mai estyniad yw yr eglwys Gristionogol o'r un gymdeithas ag oedd yn bodoli cyn dyfodiad Crist; wedi ei himpio ar yr un gwreiddyn, a'i hadeiladu ar yr un sylfaen. Mae y datguddiad, ar ba un yr oedd y ddwy yn ymddibynu, yr un o ran sylwedd; canys megys y mae yr eglwys Gristionogol wedi ei hadeiladu ar yr Ysgrythyrau Sanctaidd, felly yr oedd yr Iuddewig hefyd. Er fod yr ysgrythyrau wedi eu helaethu yn awr trwy yr ychwanegiad o'r Testament Newydd, eto, o ran sylwedd, nid ydyw ond yr un datguddiad a'r hyn a roddwyd yn yr Hen Destament, ond yn unig fod testunau dwyfol ddatguddiad yn bresennol wedi eu hegluro yn amlycach yn y Testament Newydd nac oeddynt yn yr Hen. Crist a'i brynedigaeth yw sylwedd yr Hen Destament cystal a'r Newydd. Dyfais fawr y prynedigaeth trwy Fab Duw, yw seilwaith eglwys Dduw cyn ac wedi ymddangosiad Crist. Nid oedd yr un flaenorol i'r eglwys Israelaidd, yn wirioneddol, ond yr un peth; cyffesai ac ymarferai yr un grefydd o ran sylwedd. Fel hyn yr ydoedd o Noah hyd Abraham, ac fel hyn yr ydoedd cyn y dylif; canys yr oedd yr eglwys y pryd hwnw yn cael ei hadeiladu ar y datguddiedigaethau a roddwyd o Grist i Adda ac Enoch. Felly yr oedd eglwys Dduw yn cael ei hadeiladu bob amser ar y dwyfol ddatguddiedigaethau, y rhai ydynt yr un o ran sylwedd yn wastadol, ac a gynnwysir yn nghrynodeb yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Y mae yr eglwys, byth wedi amser Moses, yn cael eu hadeiladu ar yr ysgrythyrau eu hunain.

Ac felly y mae y gwrthwynebiad a wnaed i eglwys Dduw trwy yr holl oesoedd, wedi bod bob amser yn erbyn yr un grefydd a'r un datguddiad, yr hyn sydd reswm cadarn dros eu gwirionedd. Gellir adnabod croes-bethau yn hawdd naill oddiwrth y llall. Gallwn ddadleu yn gryf a diogel dros ddaioni peth oddiwrth radd ei wrthwynebiad i ddrygioni, neu radd gwrthwynebiad a gelyniaeth y drygioni iddo ef. Yn awr y mae yn amlwg oddiwrth yr hyn a welsom, mewn perthynas i deyrnas Crist a'r grefydd sanctaidd a gyffesir ganddi, fod casineb gwastadol yn nrygioni y byd tuag ati, a'i fod wedi gwneyd y gwrthwynebiad mwyaf creulon iddi.

Fod eglwys Dduw wedi cyfarfod â gwrthwynebiadau parhaus yn y byd, nis gall neb ei wadu. Gellir profi hyn oddiwrth hanesyddiaeth genedlig cyn belled ag y mae hyny yn cyrhaedd; ac y mae genym hanesyddiaeth ddwyfol yn tystiolaethu yr un peth cyn i hyny ddechreu. Dechreuwyd gwrthwynebu eglwys Dduw, ei chrefydd a'i haddoliad, yn amser Cain ac Abel; ac felly yr ydoedd pan lánwyd y ddaear â chamwedd yn amser Noah. Fel y gwrthwynebwyd yr eglwys ar ol hyn yn yr Aifft! ac fel yr oedd yr Israeliaid yn cael eu casâu yn wastadol gan y cenedloedd o'u hamgylch! Ier. 12. 9. "Y mae fy etifeddiaeth i mi fel aderyn brith; y mae yr adar o amgylch yn ei herbyn hi." Ac wedi y caethiwed yn Mabilon, fel yr erlidiwyd yr eglwys hon gan Antiochus Epiphanes ac ereill! Fel yr oedd Crist yn cael ei erlid pan ydoedd ar y ddaear! ac fel yr erlidiwyd yr apostolion, a Christionogion ereill, gan yr Iuddewon yn flaenorol i ddinystr Ierusalem gan y Rhufeiniaid! Mór greulon oedd y bobl hyn yn erbyn yr eglwys! ac mór ddychrynllyd oedd gwrthwynebiad y byd Paganaidd yn erbyn yr eglwys wedi hyn cyn amser Cystenyn! Mór fawr oedd eu malais yn erbyn y wir grefydd! Ac ar ol hyny, pa gymaint mwy ffyrnig, maleisus a chreulon na'r rhai hyn oedd gwrthwynebiadau Anghrist yn erbyn yr eglwys!

Nid oes un esiampl arall o'r fath wrthwynebiad. Nid

yw hanesyddiaeth yn rhoddi cyfrif am unrhyw blaid arall o ddynion a gawsant eu casâu gymaint, a'u hymlid a'u herlid mór faleisus ac annigonol, na dim o'r cyffelyb. Ni chafodd un grefydd arall erioed ei henllibio fel hyn o oes i oes. Yr oedd cenedloedd o ddaliadau ereill yn cael mwynhau eu crefydd mewn hedd a thawelwch, beth bynag fyddai y gwahaniaeth rhyngddynt a'u cymydogion. Addolai un genedl un math o dduwiau, ac ereill fath arall, heb flino nac aflonyddu naill y llall o'u plegyd: ond y mae pob cenfigen, dygasedd a gwrthwynebiad, wedi cael eu dangos i grefydd eglwys Crist. Ymddengys i bob crefydd arall ddangos gelyniaeth anghymodlawn i hon; ac y mae yn amlwg fod gan ddynion, o'r naill oes i'r llall, y fath genfigen yn ei herbyn, fel na fedrent byth ddiwallu eu creulonder yn ei herlid. Rhoddasant eu holl ddyfais ar yr arteithglwyd, i gael allan boenydiau a fyddent ddigon creulawn; ac eto, wedi y cwbl, nid ymddengys iddynt erioed ddigoni eu gwangc. Ni thórwyd eu syched erioed â gwaed.

Fod y grefydd hon, a'r ysgrythyrau, wedi cael gwrthwynebiad maleisus yn y byd yn barhaus, nid oes neb a amheua. Yr unig gwestiwn sydd yn aros yw, Beth fu yr achos o'r holl wrthwynebiad yma? Pa un ai drygioni y byd a'i lygredigaeth oedd yr achos o hono, ai nidê? Ond nis gall mwy o amheuaeth fod yn nghylch hyn na 'r llall, os ystyriwn mór ddiachos y mae y creulonder yma wedi bod bob amser, pwy oedd y gwrthwynebwyr, a'u dull o wrthwynebu. Mae y gwrthwynebiad gan mwyaf wedi dyfod oddiwrth Baganiaeth a Phabyddiaeth; y rhai ydynt ffrwyth dallineb, llygredigaeth, a drygioni dynion, fel y mae y Gwrthgredinwyr eu hunain yn cyfaddef. Mae goleuni natur yn dangos fod crefydd y *Paganiaid*, yr hon sydd gynnwysedig mewn addoli delwau, ac aberthu plant iddynt, yn nghyda seremoniau a defodau aflan a ffiaidd, yn ddrygionus. Ac nid ydyw ofergoelion, eilun-addoliaeth a ffug-honiadau eglwys *Rufain*, yn llai gwrthwynebol i oleuni natur. Ymddengys fel hyn i'r gwrthwynebiad hwn i eglwys Dduw gael ei wneyd

gan ddynion drygionus. A chyda golwg ar wrthwynebiad yr Iuddewon yn amser Crist a'r apostolion, yr oedd hyn yn amser mwyaf llygredig y genedl hono, pan oedd y bobl yn gyffredinol yn hynod o annuwiol, fel y mae rhai o'r ysgrifenwyr Iuddewig eu hunain, megys Iosephus ac ereill, yn cyfaddef. Ac mai drygioni yn unig fu yr achos o'r holl wrthwynebiad hwn, sydd amlwg oddiwrth ddull y gwrthwynebiad; y dîr-greulonedd a'r anghyfiawnder a ddefnyddiwyd tuag at eglwys Dduw. Y mae megys yn arddangos goruchwyliaeth faleisus ysbrydion uffernol.

Yn awr pa reswm a ellir roddi dros fod llygredigaeth a drygioni y byd yn ymosod mór anghymodadwy yn erbyn crefydd Iesu Grist, ac yn erbyn yr ysgrythyrau, oddyeithr eu bod yn wrthwynebol i ddrygioni, ac o ganlyniad yn sanctaidd a da? Paham y darfu i elynion Crist am gynifer o filoedd o flynyddoedd ddangos y fath gasineb marwol tuag at y grefydd hon, ond o herwydd ei bod yn achos Duw? Os nad yw yr ysgrythyrau yn air Duw, ac os nad crefydd eglwys Crist yw y wir grefydd, yna rhaid mai y fwyaf twyllodrus o bob crefydd ydyw—ac nad yw ddim namyn anwireddau a hudoliaethau ffiaidd a ddyfeisiwyd gan elynion Duw. Ac os felly, nid ydyw yn debygol y buasai caseion Duw, ac annuwioldeb y byd, yn cynnal i fyny y fath elyniaeth anghymodadwy yn ei herbyn.

2. Y mae bod y grefydd Gristionogol *wedi ei chynnal hyd yn hyn trwy bob gwrthwynebiad a pherygl*, yn brawf cadarn ei bod o Dduw. Y mae fod eglwys Dduw a'r wir grefydd, yr hon a wrthwynebwyd mór chwerw, ac y gwnaed cymaint o ymdrech i'w dadymchwelyd—a'r hon a ddygwyd mór fynych i fin dinystr am y rhan fwyaf o chwe' mil o flynyddoedd—eto yn sefyll, yn brawf eglur fod llaw Duw o blaid yr eglwys. Ymddengys hyn, ond ei iawn ystyried, yn un o'r rhyfeddodau a'r gwyrthiau mwyaf. Nid oes dim o'i gyffelyb ar wyneb daear. Ni ddaliodd un gymdeithas arall o ddynion i fyny fel yr eglwys. Am yr hen fyd cynddylifol, dadymchwelwyd hwnw gan ddyfroedd dylif; ond

eto eglwys Dduw a ddïogelwyd. Cafodd teyrnas weledig Satan ar y ddaear ei hollol ddadymchwelyd am unwaith y pryd hwnw; ond ni chafodd eglwys weledig Crist erioed ei dadymchwelyd. Mae yr holl hen deyrnasoedd a'r unbenaethau dynol yr ydym yn darllen am danynt, megys y Moabiaid, yr Ammoniaid, yr Edomiaid, &c., wedi dyfod i derfyn er ys hir amser. Dadymchwelwyd ymherodraeth alluog Babilon falch gan y Persiaid; a'r ymherodraeth Bersiaidd gan y Groegiaid; wedi hyny yr ymherodraeth Roegaidd a ddadymchwelwyd gan y Rhufeiniaid; ac yn ddiweddaf, ymherodraeth Rufain a syrthiodd yn aberth i amrywiol genedloedd barbaraidd. Y mae yma gyflawniad nodedig o'r testun, Y pryf a'u bwytäodd fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysodd fel gwlan; ond y mae eglwys Dduw yn aros.

Ni wnawd erioed y fath gynifer o ymegnïadau grymus i ddystrywio unrhyw beth arall ag a wnaed i ddinystrio yr eglwys. Dinystriwyd teyrnasoedd a chymdeithasau ereill o ddynion, y rhai oeddynt yn ddeng-waith cryfach na 'r eglwys, â'r ganfed ran o'r gwrthwynebiad a gafodd eglwys Dduw: yr hyn sydd yn dangos mai Duw yw ei hamddiffynydd. Canys y mae yn ddigon eglur nad oedd hi yn abl i sefyll trwy ei nerth ei hun: oblegyd nid ydyw wedi bod, am y rhan fwyaf o'r amser, ond cymdeithas hynod o wán. Nid oedd meibion Israel ond dyrnaid o bobl, mewn cydmariaeth â'r lluaws a geisiasant yn fynych eu dadymchwelyd. Felly hefyd yn amser Crist, ac ar ddechreuad yr eglwys Gristionogol, nid oeddynt ond ychydig weddill, tra yr oedd holl luaws y genedl Iuddewig yn eu herbyn. Ac felly ar ddechreuad yr eglwys Genedlig, nid oeddynt ond ychydig nifer mewn cydmariaeth i'r Paganiaid, y rhai oeddynt yn ymegnïo i'w dyfetha. Yn amseroedd tywyll Anghrist, cyn y Diwygiad, nid oeddynt ond dyrnaid; ac eto nis medrai eu gelynion eu dadymchwelyd. Ac yr oedd gan elynion yr eglwys yn gyffredin, heblaw y nifer fwyaf o'u tu, y cryfder ar ystyriaethau ereill hefyd. Yr oedd ganddynt yr holl

awdurdod gwladol yn gyffredin o'u tu. Felly yn yr Aifft, yr oedd yr awdurdod wladol yn meddiant yr Aifftiaid, ac nid oedd yr eglwys ond caethweision yn unig iddynt, ac yn eu dwylaw; ac eto nis gallent eu dadymchwelyd. Ac felly yr oedd yn amser Antiochus Epiphanes a Iulian y Gwrthgiliwr, yr oedd yr holl awdurdod yn llaw yr erlidwyr, a'r eglwys dan eu llywodraeth; eto nis medrent â'u holl greulonder eu diwreiddio. Ac y mae yr awdurdod wladol wedi bod am lawer o oesoedd o du Anghrist, a'r eglwys yn ymddangos megys yn eu dwylaw.

Ac nid yn unig y mae nerth gelynion yr eglwys wedi bod yn gryfach na 'r eiddo hi, ond, yn gyffredinol, ni ddarfu i'r eglwys ddefnyddio yr ychydig nerth oedd ganddynt i amddiffyn eu hunain, eithr ymddiriedasant eu hunain yn hollol i Dduw. Yn amser yr erlidigaethau Iuddewig, yn flaenor ol i ddinystr Ierusalem gan y Rhufeiniaid, a'r erlidigaethau Paganaidd o flaen Cystenyn, ni chynygiodd y Cristionogion wneyd unrhyw wrthwynebiad grymus i'w herlidwyr Paganaidd. Felly yr oedd gyda 'r rhan fwyaf o'r erlidigaethau Pabaidd; ac eto ni buont erioed yn abl i ddadymchwelyd eglwys Dduw; ond y mae hi yn aros hyd y dydd hwn.

Ac y mae hyn yn fwy rhyfeddol eto, os ystyriwn pa mor fynych y dygwyd eglwys Dduw i ymyl dinystr, nes y byddai eu hachos yn ymddangos bron yn anobeithiol. Yn amser yr hen fyd, pan yr oedd drygioni wedi amlhau cymaint fel na adawyd ond un teulu, ymddangosodd Duw mewn modd rhyfeddol, a dadymchwelodd y byd drygionus yn y dylif, a gwaredodd ei eglwys. Wrth y Môr Coch, pan yr ydoedd Pharaoh a'i lu yn meddwl eu bod yn sicr o'u hysglyfaeth, dynoethodd Duw ei fraich, dinystriodd hwy, a gwaredodd ei eglwys. Dan y ddegfed, a'r ddiweddaf, o'r erlidigaethau Paganaidd, yr oedd eu gelynion yn ymffrostio eu bod wedi gwneyd gorchwyl ar y Cristionogion, a dadymchwelyd yr eglwys Gristionogol; ond tra yr oeddynt hwy yn nghanol eu gorfoledd, mae yr eglwys Gristionogol yn dyrchafu o'r llwch, ac yn cynyddu, a'r ymherodraeth Baganaidd yn

hollol ddiflanu o'i blaen. Fel hyn hefyd yr oedd pan ydoedd y grefydd Gristionogol yn ymddangos megys ar fin cael ei llyngcu i fyny gan gyfeiliornad Arius, pan y cyfododd Anghrist ac y llwyddodd, ac y rhyfeddodd yr holl fyd ar ol y bwystfil; pan oedd yr eglwys am amryw gannoedd o flynyddoedd wedi ei dwyn i ychydig nifer, a gallu y byd wrth y gorchwyl o ddinystrio yr ychydig weddillion hyny; eto nis gallasant erioed hollol gyflawnu eu hamcan, ac o'r diwedd fe adfywhäodd Duw ei eglwys yn rhyfeddol trwy y Diwygiad, gosododd hi i sefyll megys ar ei thraed yn ngwydd ei gelynion, a chododd hi o'u cyrhaedd. A phan yr oedd yr awdurdodau Pabaidd wedi llunio cynllun i ddadymchwelyd yr eglwys ddiwygiedig, ac yn nghylch ei osod mewn gweithrediad, ymddangosodd Duw mewn modd rhyfedd gan roddi ymwared i'w eglwys, megys yn y chwyldröad yn amser y brenin William. Ac yn uniongyrchol wedi yr amseroedd tywyllaf, Duw a barodd i'w eglwys flodeuo yn yn y modd mwyaf gogoneddus.

Os nad ydyw cadwedigaeth eglwys Dduw trwy y cyfryw amgylchiadau, o ddechreuad y byd hyd yn hyn, yn ddigonol i brofi fod llaw ddwyfol o'i phlaid, beth a allwn ni ddychymygu a'i cynnaliodd? Ac os nad ellir gwrthbrofi hyn, yna rhaid mai eiddo Duw yw yr eglwys, yn nghyda 'r datguddiedigaethau a'r ysgrythyrau, ar ba rai y mae hi yn sylfaenedig; ac o ganlyniad, rhaid mai eu crefydd hwy yw y wir grefydd, neu grefydd Duw, ac mai ei air ef ydyw yr ysgrythyrau, o'r rhai y cymerant hwy eu rhëol.

3. Gallwn dynu y rheswm canlynol yn mhellach dros ddwyfol awdurdod yr ysgrythyrau, sef, bod Duw wedi *cyflawnu* yr hyn a ragfynegwyd ynddynt. Yr wyf wedi sylwi yn gyffredinol yn barod, wrth ddyfod yn mlaen, pa fodd y cyflawnwyd prophwydoliaethau yr ysgrythyr: yn bresennol ni *neillduaf* ond *dwy enghraifft.*

(1.) Un ydyw *cadwedigaeth* eglwys Dduw rhag dinystr. Yr wyf newydd ddangos y fath brawf ydyw hyn, a'i ystyried ynddo ei hun, o ddwyfol awdurdod yr ysgrythyrau; yr

wyf yn awr yn dyfod i lefaru am hyn fel y mae yn gyflawniad o brophwydoliaeth yr ysgrythyr. Mae hyn yn cael ei ragfynegu a'i addaw yn fynych yn yr ysgrythyrau, ac yn neillduol yn y testun. Rhagddywedir yno y byddai i bethau ereill ddiflanu; y byddai i deyrnasoedd ac unbenaethau ereill, a osodent eu hunain yn wrthwynebol, ddyfod i'r dim: "Y pryf a'u bwyty fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlan." Rhagfynegir yma y byddai i gyfammod trugaredd Duw tuag at ei eglwys, barhau yn dragywydd; ac y mae wedi profi felly hyd yma, er lluosoced fu y peryglon yr aeth yr eglwys trwyddynt. Addawir yr un peth yn Esa. 54. 17. "Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn; a thi a wnei yn euog bob tafod a gyfodo i'th erbyn di mewn barn." A thrachefn, pen. 49. 14—16. "Eto dywedodd Sïon, Yr Arglwydd a'm gwrthododd, a'm Harglwydd a'm hanghofodd. A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturio wrth fab ei chroth? ïe, hwy a allant anghofio, eto myfi nid anghofiaf di. Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais; dy furiau sydd ger fy mron bob amser." Mae yr un peth yn cael ei addaw, Esa. 59. 21, a 63. 1, 2. Zech. 12. 2, 3. Y mae Crist hefyd yn addaw yr un peth, pan y dywed, "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Ac, yn awr, os nad o Dduw y mae hyn, os nad gair Duw ydyw yr ysgrythyrau, ac os nad yw eglwys Crist, yr hon a adeiledir ar y gair hwn, o Dduw, pa fodd y gallasai y personau a ragfynegasant hyny, ei wybod? canys os nad o Dduw yr oedd yr eglwys, yr oedd yn beth pur annhebyg y cawsai hyn byth ei gyflawnu. Rhagddywedasant am wrthwynebiadau a pheryglon mawrion, y byddai i deyrnasoedd ereill ddiflanu, ac y byddai yr eglwys yn fynych ar geulan dinystr; ac eto y byddai i'r eglwys sefyll. Pa fodd y gallasent hwy ragweled peth mór annhebygol oddigerth trwy ddwyfol ysbrydoliaeth?

(2.) Yr enghraifft nodedig arall yw *cyflawniad prophwydoliaethau yr ysgrythyrau mewn perthynas i Anghrist.* Rhagddywedwyd pa fodd y cyfodai Anghrist—nid yn mysg y

Paganiaid, neu y cenedloedd oeddynt heb erioed gofleidio Cristionogaeth; ond trwy *ymollyngiad yr eglwys Gristionogol* i gyflwr llygredig. 2 Thes. 2. 3. "Oblegyd ni ddaw y dydd hwnw hyd oni ddêl ymadawiad yn gyntaf, a datguddio y dyn pechod, mab y golledigaeth." Ac fe ragfynegir y bydd i'r dyn pechod hwn osod ei hun i fyny yn y deml, neu eglwys weledig Duw, ac y byddai iddo honi ei fod wedi ei gynysgaeddu âg awdurdod ddwyfol, fel pen yr eglwys. Adn. 4. Ac fe gafodd hyn oll ei gyflawnu yn gywir yn eglwys Rufain. Drachefn, lled-hysbysir y byddai i gyfodiad Anghrist gymeryd lle yn *raddol*. Adn. 7. "Canys y mae dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes: yn unig yr hwn sydd yr awrhon yn attal, a ettyl nes ei dynu ymaith." Cymerodd hyn hefyd le. Drachefn, rhagddywedir y byddai y gelyn galluog hwn i'r eglwys Gristionogol, yn dywysog neu unbenaeth o'r ymherodraeth Rufeinig: felly yr arddangosir ef gan Daniel, megys corn yn cyfodi o'r pedwerydd bwystfil, neu y bedwaredd unbenaeth, fel y mae yr angel yn eglurhau. Dan. vii. Cymerodd hyn le hefyd. Ië, rhagfynegwyd y byddai i orseddfaingc y ffug-raglaw dwyfol hwn, a phen yr eglwys, fod yn ninas Rhufain ei hun. Dywedir yn benderfynol y byddai i orseddfa y butain ysbrydol, neu y ffug-eglwys, fod ar saith o fynyddoedd neu fryniau. Dat. 17. 9. "Y saith ben, saith fynydd ydynt, lle mae y wraig yn eistedd arnynt." Ac adn. 18. "A'r wraig a welaist, yw y ddinas fawr, sydd yn teyrnasu ar freninoedd y ddaear;" yr hon yn ddiwrthddadl oedd dinas Rhufain y pryd hwnw. Cyflawnwyd y brophwydoliaeth hon hefyd.

Rhagddywedir yn mhellach y byddai i Anghrist lywodraethu ar bobloedd, a llwythau, a chenedloedd, ac ieithoedd, (Dat. 17. 15;) ac y byddai i'r holl fyd ryfeddu ar ol y bwystfil. Dat. 13. 3. Gwiriwyd hyn hefyd yn eglwys Rufain. Rhagddywedwyd y byddai yr Anghrist hwn yn nodedig am ei bechod o falchder, yn ffug-honi at bethau mawrion, ac yn rhyfygu llawer iawn iddo ei hun. 2 Thes. 2. 4. Yn "ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn dduw, neu

a addolir." Dat. 13. 5. "A rhoddwyd iddo ef enau yn llefaru pethau mawrion, a chabledd." Yn Dan. 7. 8, 20, y dywedir fod i'r *corn bychan enau yn traethu mawrhydri*, a bod yr olwg arno yn *arwach na'i gyfeillion.* Cafodd hyn hefyd ei wirio yn y Pab ac eglwys Rufain. Rhagddywedwyd hefyd y byddai Anghrist yn erlidiwr hynod o greulon. Dan. 7. 21. Gwnaeth yr un corn "ryfel ar y saint, ac a fu drech na hwynt." Dat. 13. 7. "A rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt." Dat. 17. 6. "Ac mi a welais y wraig yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu." Cafodd hyn hefyd ei ddwyn oddiamgylch yn eglwys Rufain. Rhagfynegwyd y byddai Anghrist yn hynod o ddichellgar a chyfrwys. Dan. 7. 8. "Ac wele lygaid fel llygaid dyn yn y corn hwnw." Ac adn. 20. "Sef y corn yr oedd llygaid iddo." Y mae hyn hefyd yn dynodi eglwys Rufain. Rhagddywedwyd y byddai breninoedd y byd Cristionogol yn ddarostyngedig i Anghrist. Dat. 17. 12, 13. "A'r deg corn a welaist, deg brenin ydynt, y rhai ni dderbyniasant freniniaeth eto; eithr awdurdod fel breninoedd, un awr, y maent yn ei dderbyn gyda'r bwystfil. Yr un meddwl sydd i'r rhai hyn, a hwy a roddant eu nerth a'u hawdurdod i'r bwystfil." Cymerodd hyn hefyd le gyda golwg ar yr eglwys Babaidd. Rhagddywedwyd y byddai iddo wneuthur gwyrthiau ffugiol a rhyfeddodau gau. 2 Thes. 2. 9. "Yr hwn y mae ei ddyfodiad yn ol gweithrediad Satan, gyda phob nerth, ac arwyddion, a rhyfeddodau gau." Dat. 13. 13, 14. "Ac y mae efe yn gwneuthur rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear, trwy y rhyfeddodau y rhai y rhoddwyd iddo ef eu gwneuthur ger bron y bwystfil." Mae hyn hefyd yn dynodi eglwys Rufain. Rhagfynegwyd y byddai yn gwahardd priodas, ac yn ymattal oddiwrth fwydydd. 1 Tim. 4. 3. "Yn gwahardd priodi, ac yn erchi ymattal oddiwrth fwydydd, y rhai a greodd Duw i'w derbyn, trwy roddi dyiolch gan y ffyddloniaid, a'r rhai a adwaenant y gwirionedd." Mae hyn hefyd yn cael ei gyflawnu yn gywir yn eglwys Rufain.

Rhagddywedwyd y byddai yn hynod o gyfoethog, ac y cyrhaeddai ogoniant a gorwychedd daearol i radd helaeth. Dat. 17. 4. "A'r wraig oedd wedi ei dilladu â phorphor ac ysgarlad, ac wedi ei gwŷchu âg aur, ac â main gwerthfawr, a pherlau, a chanddi gwpan aur yn ei llaw." Gwel hefyd bennod 18. 7, 12, 13, 16. Pa fodd y gellid rhoddi cywirach desgrifiad o eglwys Rufain? Fe ragddywedwyd hefyd, y byddai iddo wahardd i neb brynu na gwerthu ond y rhai a fyddai yn meddu ei nod ef. Dat. 13. 17. "Ac na allai neb na phrynu na gwerthu, ond yr hwn a fyddai ganddo nod, neu enw y bwystfil, neu rifedi ei enw ef." Mae hyn hefyd yn cael ei gyflawnu gan eglwys Rufain. Rhagddywedwyd y byddai iddo werthu eneidiau dynion, Dat. 18. 13, lle y dywedir yn bennodol, wrth rifo ei nwyddau masnachol, fod *eneidiau dynion* yn un o honynt. Onid yw hyn hefyd yn cael ei gyflawnu yn yr un eglwys? Fe ragfynegwyd na oddefai Anghrist i gyrff pobl Dduw gael eu claddu. Dat. 11. 8, 9. "A'u cyrff a orwedd ar heolydd y ddinas fawr, ac ni oddefant ro'i eu cyrff mewn beddau." Mór llythyrenol y cafodd hyn ei gyflawnu gyda golwg ar eglwys Rufain? Gellid enwi llawer o bethau ereill a ragddywedwyd am Anghrist, a dangos iddynt gael eu cyflawnu yn gywir yn y Pab ac eglwys Rufain. Y fath brawf cadarn yw hyn fod yr ysgrythyrau yn air Duw!

II. Gallwn ganfod, oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, pa fath ydyw ysbryd y gwir Gristionogion, sef *ysbryd dyoddefgar.* Gan eu bod yn gweled i Dduw ordeinio yn ei ragluniaeth, y byddai i'w eglwys fod cyhyd o amser mewn sefyllfa ofidus, ïe, yn fynych, mewn sefyllfa helbulus i'r eithaf, nyni a allwn fod yn benderfynol mai ysbryd dyoddefgar yw ysbryd y wir eglwys, onidê ni buasai Duw erioed yn trefnu cymaint o ddyoddef ar ei rhan; oblegyd y mae Duw, yn ddiamheuol, yn cyfaddasu cyflwr ac amgylchiadau yr eglwys i'r ysbryd a roddodd efe iddi. Nid rhyfedd gan hyny oedd i Grist ddwyn ar gof i'w ddysgyblion mór fynych ac mór

ddwys y byddai raid iddynt ymwadu â hwy eu hunain, a chymeryd i fynu eu croes, os mynent ei ganlyn ef.

A pha fath oedd yr ysbryd a ddangosodd ac a arferodd yr eglwys dan ei dyoddefiadau? Hi a ddewisodd, yn yr holl erlidigaethau arswydus yr aeth trwyddynt, fyned dan arteithiau llymion, a gwerthu y cwbl am y perl gwerthfawr, a dyoddef y creulonderau mwyaf a allai ei gelynion chwerwaf ddyfeisio, yn hytrach na gwadu Crist a'i grefydd. Mae hanesyddiaeth yn rhoddi lluaws o enghraifftiau nodedig o hyn, ac yn dwyn i'r golwg gwmwl o dystion. Mae hyn yn ddigon i gadarnhau yr anghenreidrwydd o feddu ysbryd i werthu pob peth er mwyn Crist, i ymwadu â'n hesmwythdra ein hunain, â'n bydol elw, â'n henw da, ac â'r cwbl a feddwn, er ei fwyn *ef*, ac er mwyn yr efengyl.

Bydded i ni holi ein hunain a oes genym y fath ysbryd. Pa fodd yr ydym pan y'n profir? A ydym yn cael ynom dystiolaeth wirioneddol ein bod yn foddlon i ymwadu â ni ein hunain, i ymadael â'n bydol elw, a myned trwy y profedigaethau y gelwir ni iddynt gan ragluniaeth? Ah! leied yw ein profedigaethau ni, mewn cydmariaeth i'r hyn a gyfarfu lawer o'n cyd-Gristionogion yn yr oesoedd gynt! At yr achos yma myfi a gymhwysaf Ier. 12. 5: "Os rhedaist ti gyda'r gwyr traed a hwy yn dy flino, pa fodd yr ymdarewi â'r meirch?" Os nad ydych chwi wedi bod yn alluog i ddyoddef y profedigaethau ysgafn y'ch galwyd iddynt, pa fodd y buasech yn ymdaro dan y profedigaethau chwerwon y galwyd yr eglwys iddynt yn yr oesoedd gynt? Mae gan bob gwir Gristion *ysbryd merthyr*, a dyoddefai fel merthyr, pe galwai rhagluniaeth arno i hyny.

III. Gwelwn oddiwrth hyn, y fath reswm cryf sydd genym i *ddysgwyl y cyflawnir yr hyn sydd yn aros eto* i gael eu cyflawnu o'r pethau a ragfynegwyd yn yr ysgrythyr. Rhagfynegir am lawer o bethau mawrion yn yr ysgrythyrau, y rhai ydynt eto i gael eu cyflawnu cyn diwedd y byd: ond y fath rwystrau sydd yn ymddangos ar y ffordd! Yr ydym ni yn ymddangos yn bresennol yn mhell iawn oddi-

wrth y sefyllfa ogoneddus y rhagddywedir am dani yn yr ysgrythyrau; ond eto y mae genym reswm digonol i ddysgwyl y bydd i'r pethau hyny, er anhawsed yr ymddangosant, gael eu cyflawnu yn eu tymhor. Gwelwn mór ffyddlon y safodd Duw at ei addewidion hyd yn hyn; mór ffyddlon y mae ef wedi bod i'w eglwys, ac fel y cofiodd ei drugaredd o genedlaeth i genedlaeth. Gallwn ddweyd am ymddygiad Duw tuag at ei eglwys hyd yma, fel y dywedodd Ioshua wrth feibion Israel, (Ios. 23. 14,) "Ni phallodd dim o'r holl bethau daionus a lefarodd yr Arglwydd ein Duw am ei eglwys;" ond daeth pob peth oddiamgylch hyd yn hyn yn unol â dwyfol ragfynegiad. Dylai hyn nerthu ein ffydd yn yr addewidion, a'n cefnogi, a'n cynhyrfu, i weddïo yn daer ar Dduw am gyflawniad y pethau mawrion a gogoneddus sydd yn aros eto i'w cyflawnu.

---

## PEN. VII.

*O'r amser Presennol hyd Gwymp Anghrist.*

Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos pa fodd y dygir yn mlaen lwyddiant prynedigaeth Crist o'r amser presennol hyd oni chwympir Anghrist, ac y dinystrir teyrnas weledig Satan ar y ddaear. Nid oes genym ddim i'n cyfarwyddo, gyda golwg ar yr yspaid hwn o amser, ond prophwydoliaethau yr ysgrythyr. Yr oedd genym hanesyddiaeth ysgrythyrol i'n cyfarwyddo trwy y rhan fwyaf o'r amser o gwymp dyn hyd ddinystr Ierusalem gan y Rhufeiniaid; ac oddiyno hyd yr amser presennol, yr oedd genym brophwydoliaeth, yn nghyda chyflawniad rhagluniaethol yr unrhyw, fel y maent yn cael eu hysbysu i ni mewn hanesion dynol. Eithr nid oes genym o hyn allan ond *prophwydoliaeth yn unig* yn gyfarwyddyd. Ac yma myfi a adawaf

o'r neilldu y pethau sydd mewn petrusdod, neu a dybir gan rai oddiwrth brophwydoliaethau o ddehongliad amheus, gan sefyll ar y pethau amlycaf yn unig.

Nis gwyddom pa ddygwyddiadau neillduol sydd i gael eu dwyn oddiamgylch cyn y bydd i'r gwaith gogoneddus hwn o eiddo Ysbryd Duw ddechreu, trwy yr hyn y dadymchwelir teyrnas Satan. Yn ol cydsyniad y rhan fwyaf o'r duwinyddion, nid oes ond ychydig, os dim, o'r pethau a ragfynegwyd i gael eu cyflawnu, cyn *dechreuad* y gwaith gogoneddus hwn o eiddo Duw. Ond y mae lladd y ddau dyst, (Dat. 11. 7, 8,) yn ol meddwl rhai, heb ei gyflawnu eto ; ac y mae gwahaniaeth barn mewn perthynas i dywallt-iad y saith phïol, (Dat. xvi.,) pa gynifer a dywalltwyd yn *barod*, a pha sawl un sydd yn *aros* heb eu tywallt. Mae esponiwr diweddar, yr hwn y crybwyllais am dano o'r blaen, yn dangos yn hynod o eglur eu bod oll wedi eu tywallt yn barod oddyeithr dwy, sef y *chwechfed* ar yr afon Euphrates, a'r *seithfed* i'r awyr. Ond ni fydd i mi ymholi yn bresennol pa beth a feddylir wrth dywalltiad y chwechfed phïol "ar yr afon fawr Euphrates, fel y parotoid ffordd breninoedd y dwyrain ;" ond hyn a ddywedaf, mai rhywbeth ydyw a fydd yn *cydfyned â'r parotöad* i ddinystrio y Babilon ysbrydol, fel yr oedd sychu yr afon Euphrates, yr hon oedd yn rhedeg trwy ganol yr hen Babilon, yn parotoi y ffordd i freninoedd y Mediaid a'r Persiaid, (breninoedd y dwyrain,) i ddyfod dan y muriau i ddinystrio y ddinas.

Ond beth bynag all hyn fod, nid ydyw yn ymddangos y bydd iddo gael ei gyflawnu cyn i'r gwaith hwn o eiddo Ysbryd Duw *ddechreu*, trwy yr hyn, fel yr êl yn mlaen, yr hollol ddadymchwelir teyrnas weledig Satan ar y ddaear. Gan hyny yr wyf yn dyfod yn union-gyrchol i ystyried yr hyn a ddatguddir yn yr ysgrythyreu fel yn dwyn perthynas â'r gwaith yma o eiddo Duw, trwy yr hyn y bydd iddo ddwyn y dygwyddiad mawr hwn oddiamgylch, gan mai dyma y peth nesaf a gaiff ei gyflawnu, o'r hyn yr ydym yn sicr oddiwrth brophwydoliaethau yr ysgrythyrau.

I. Sylwaf *yn gyffredinol* ar rai pethau sydd yn dwyn perthynas â'r gwaith hwn.

1. Y mae genym bob rheswm i feddwl oddiwrth yr ysgrythyr y bydd yn amser *isel a thywyll iawn* ar grefydd yn y byd, ychydig cyn i'r gwaith hwn o eiddo Duw ddechreu. Felly yr ydoedd yn flaenorol i'r adfywiadau gogoneddus a fu ar grefydd. Yr ydoedd yn amser o ddirywiad mawr yn mhlith yr Iuddewon, pan ddaeth Crist: ac yr oedd yn amser tywyll iawn ar wawriad y Diwygiad. Ond nid felly yn unig, eithr ymddengys fod yr ysgrythyr yn rhagfynegu, na fydd ond ychydig o grefydd yn y byd pan ddelo Crist i osod ei deyrnas i fyny ynddo. Fel hyn yr oedd Crist yn llefaru am ei ddyfodiad, i galonogi ei etholedigion, y rhai sydd yn llefain arno ddydd a nos, (Luc 18. 8;) ac y mae efe yn ychwanegu, "Eithr Mab y dyn, pan ddel, a gaiff efe ffydd ar y ddaear?" Yr hyn ymddengys sydd yn dynodi y bydd cynydd mawr ar anffyddiaeth ychydig cyn dyfodiad Crist i ddïal dyoddefaint ei eglwys. Er nad yw dyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf i'w gau allan yn y fan yma, eto ymddengys ei fod yn dwyn perthynas neillduol â'i ddyfodiad i waredu ei eglwys o'i chyflwr erlidigaethus, a'i dyoddefiadau hir-barhaus, yr hyn a gyflawnir yn unig trwy ei ddyfodiad ar ddinystr Anghrist. Yna y caiff yr ymadroddion canlynol eu cyflawnu. Dat. 6. 10. "Pa hŷd, Arglwydd, sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?" Dat. 18. 20. "Llawenhâ o'i phlegyd hi, y nef, a chwi, apostolion sanctaidd a phrophwydi; oblegyd dïalodd Duw arni drosoch chwi."

Amser tywyll iawn ydyw yn *bresennol* gyda golwg ar achos crefydd, pan nad oes ond ychydig ffydd, a chynydd mawr ar anffyddiaeth yn y byd. Y mae yn awr gyflawniad nodedig o'r 2 Petr 3. 3. "Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain." A Iudas 17, 18. "Eithr chwi, O rai anwyl, cofiwch y geiriau a ragddywedwyd gan apos-

tolion ein Harglwydd Iesu Grist; ddywedyd o honynt i chwi, y bydd yn yr amser diweddaf watwarwyr, yn cerdded yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain." Pa un a fydd yr amseroedd yn dywyllach eto, neu pa faint tywyllach, cyn y bydd i'r gwaith gogoneddus hwn o eiddo Duw gael ei ddechreu, nis gallwn ddweyd.

(2.) Mae yn debygol, oddiwrth yr ysgrythyrau, y bydd i'r gwaith mawr hwn o eiddo Duw, gael ei ddwyn yn mlaen, er yn hynod o gyflym, eto yn *raddol.* Fel yr oedd dychweliad meibion Israel yn *raddol* o gaethiwed Babilon, un fintai yn gyntaf, yna un arall, ac yn *raddol* ail-adeiladasant eu dinas a'u teml; ac fel yr oedd dinystr yr ymherodraeth Rufeinig Baganaidd yn *raddol*, eto, trwy ledaeniad prysur yr efengyl, yr ydoedd yn hynod o gyflym; ac felly, er fod llawer o bethau yn arddangos y bydd i'r gwaith hwn o eiddo Duw gael ei ddwyn rhagddo gyda chyflymdra—y bydd i lawer o bethau mawrion gael eu dwyn oddiamgylch yn ddisymwth, ac y bydd i ryw ranau helaeth o deyrnas weledig Satan syrthio yn ddisyfyd—eto ni fydd i'r cyfan gael eu gwneuthur ar unwaith, megys trwy ryw wyrth fawr, fel y bydd yn adgyfodiad y meirw; ond bydd i'r gwaith hwn gael ei gyflawnu trwy *foddion*, sef pregethiad yr efengyl, a'r arferiad cyffredinol o foddion gras, ac felly bydd iddo gymeryd lle yn *raddol.* Rhai a ddychwelir, ac a fyddant yn foddion i ddychwelyd ereill. Bydd i Ysbryd Duw gael ei dywallt yn gyntaf i godi offerynau, ac yna caiff yr offerynau hyny eu defnyddio yn llwyddiannus. A diamheu y bydd i'r naill genedl gael eu goleuo a'u dychwelyd ar ol y llall, ac y bydd i'r naill gau-grefydd a'r naill gau-ffordd o addoli gael eu gwthio ymaith ar ol eu gilydd. Yn ol y darluniad, (Dan. 2. 34,) yn *raddol* y mae y gareg a dórwyd o'r mynydd, yr hon ni thórwyd â llaw, yn cynyddu. Felly y mae Crist yn hysbysu i ni fod teyrnas nefoedd yn gyffelyb i ronyn o had mwstard, (Mat. 13. 31, 32,) ac yn debyg i surdoes a guddiwyd mewn tri mesur o flawd, (adn. 33.) Y mae genym yr un darluniad yn Marc, (pen. 4. 26—28,) ac

yn ngweledigaeth dyfroedd y cysegr. Ezec. xlvii.—Y mae yr ysgrythyr yn crybwyll am lawer o ddygwyddiadau mawrion ac ardderchog trwy y rhai y mae y gwaith gogoneddus hwn i gael ei gyflawnu. Mae yr angel, pan yn llefaru wrth Daniel am yr amseroedd gogoneddus hyn, yn son am ddau gyfnod, ar ddiwedd pa rai y bydd i bethau ardderchog gael eu cyflawnu. Dan. 12. 11. "Ac o'r amser y tyner ymaith y gwastadol aberth, ac y gosoder i fyny y ffieidd-dra annhraethol, y bydd mil dau gant a deg a phedwar ugain o ddyddiau." Ond yn yr adnod nesaf y mae yn ychwanegu, "Gwyn ei fyd a ddysgwylio, ac a ddêl hyd y mil tri chant a phymtheg ar hugain o ddyddiau;" yr hyn sydd yn arwyddocâu y bydd i rywbeth hynod o ogoneddus gael ei gyflawnu ar ddiwedd y cyfnod cyntaf, ond rhywbeth gogoneddusach ar ddiwedd yr olaf.

II. Yr wyf yn dyfod yn bresennol i ddangos *pa fodd* y bydd i'r gwaith gogoneddus hwn gael ei gyflawnu.

1. Bydd i Ysbryd Duw gael ei dywallt mór odidog, fel yr *adfywheir ac y lledaenir crefydd yn rhyfeddol.*

Nid trwy awdurdod breninoedd, na doethineb dysgedigion, y bydd i'r gwaith mawr hwn gael ei gyflawnu, ond trwy nerth yr Ysbryd Glan. Zech. 4. 6, 7. "Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd. Pwy wyt ti, y mynydd mawr? ger bron Zorobabel y byddi yn wastadedd; ac efe a ddwg allan y maen penaf, gan waeddi, Rhad, rhad iddo." A'r prophwyd Ezeciel, wrth lefaru am y gwaith mawr hwn o eiddo Duw, a ddywed, "Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddiwrthynt: o herwydd tywelltais fy Ysbryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd Dduw." Ezec. 39. 29. Nis gwyddom pa le y bydd i'r tywalltiad hwn o'r Ysbryd ddechreu, neu ynte a fydd iddo ddechreu mewn amrywiol fanau ar unwaith, neu a ydyw yr hyn a fu eisoes yn rhagredegydd a dechreuad iddo.

Bydd i'r tywalltiad hwn o Ysbryd Duw, wedi y dechreuo, ddwyn lluaws yn fuan i ymwrthod â'r annuwioldeb a'r drygioni sydd yn awr yn ffynu mór gyffredinol, ac adfywhâu

y grefydd fywiol hono sydd mór ddirmygus yn bresennol yn y byd. Bydd i'r gwaith o ddychwelyd dóri allan, a myned rhagddo mewn modd na bu ei gyffelyb erioed o'r blaen. Esa. 44. 3—5. Trwy dywalltiad o'i Ysbryd yr addurna yr Arglwydd offerynau i ddwyn y gwaith hwn yn mlaen; efe a'u lleinw hwy â doethineb a gwybodaeth, ac â zêl wresog i ddwyn rhagddi deyrnas Crist, iachawdwriaeth eneidiau, a lledaeniad yr efengyl tros y byd. Pregethir yr efengyl gyda llawer mwy o eglurdeb ac awdurdod nac y pregethwyd hi hyd yn hyn: canys trwy bregethiad yr efengyl, yr hon a gyhoeddir gydag awdurdod mawr yn y byd yn flaenorol i gwymp Babilon, y dygir y gwaith ardderchog hwn yn mlaen, yn ol y darluniad, Dat. 14. 6—8.

Yr oedd hyn yn cael ei gysgodi trwy udganiad yr udgyrn arian yn Israel gynt. Lef. 25. 9. "Yna pâr ganu i ti udgorn y iubili ar y seithfed mis ar y degfed dydd o'r mis; ar ddydd y cymod cenwch yr udgorn trwy eich holl wlad." Bydd yr amseroedd gogoneddus sydd yn aros yr eglwys, megys iubili iddi, yr hyn a ddechreua trwy udganiad udgorn arianaidd yr efengyl, fel y rhagfynegir yn Esa. 27. 13. "Ac yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr; yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aifft, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd sanctaidd yn Ierusalem." Ac fe fydd tywalltiad gogoneddus o'r Ysbryd yn cydfyned â'r pregethiad eglur ac awdurdodol yma o'r efengyl, i'w wneyd yn effeithiol i adfywhau yr athrawiaethau crefyddol sanctaidd hyny a ddirmygir yn bresennol gan mwyaf yn y byd, ac i droi llawer oddiwrth gyfeiliornadau, oddiwrth Babyddiaeth, a gau-grefyddau ereill; ac hefyd i droi llawer oddiwrth eu beiau a'u halogedigaeth, ac i ddwyn torfeydd lluosog yn waredigol adref at Grist.

Bydd i'r gwaith o ddychwelyd fyned rhagddo yn rhyfeddol, ac ymledu fwy fwy. Llawer a gyd-redant at ddaioni yr Arglwydd. Parhant i ddylifo yn dyrfäoedd, y naill ar ol y llall. Esa. 60. 4, 5. "Cyfod dy lygaid oddiamgylch, ac

edrych; ymgasglasant oll, daethant atat: dy feibion a ddeuant o bell, a'th ferched a fegir wrth dy ystlys. Yna y cei weled, ac yr ymddysgleiri." Ac adn. 8. "Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmwl, ac fel colomenod i'w ffenestri?" A chan y bydd i'r efengyl gael ei phregethu i bob llwyth, ac iaith, a chenedl, a phobl, cyn cwymp Anghrist; felly nyni a allwn dybied y bydd iddi lwyddo yn ogoneddus i ddychwelyd lluaws o bob cenedl, a chynyddu fwy fwy gyda buandra rhyfeddol. Esa. 66. 7—9.

2. Ni fydd y tywalltiad hwn o Ysbryd Duw yn effeithiol i ddadymchwelyd teyrnas weledig Satan, cyn bod yn gyntaf *wrthwynebiad egnïol a grymus iddo.* Mae yr ysgrythyr yn dangos yn amlwg, y cyfyd galluoedd teyrnas y fagddu, pan y mae Crist yn dyfod allan fel hyn yn ogoneddus, pryd y bydd dinystr Anghrist ger llaw, a theyrnas Satan yn dechreu siglo, ac y gwnant ymegnïad grymus. Fel hyn, wedi tywalltiad y chwechfed phïol, yr hon oedd i sychu i fyny yr afon Euphrates i barotoi y ffordd i ddinystrio y Babilon ysbrydol, (Dat. xvi.,) galluoedd uffern a ddychrynant yn arswydus, ac a ymgynhyrfant i wrthwynebu teyrnas Crist, cyn i'r seithfed phïol gael ei thywallt, yr hon a rydd iddynt ddadymchweliad hollol a gorphenol: (adn. 13. 14,) "tri ysbryd aflan tebyg i lyffaint a ânt allan at freninoedd y ddaear, i'w casglu hwy yn nghyd i ryfel y dydd hwnw, dydd mawr Duw Hollalluog." Ymddengys mai hon fydd ymdrech fwyaf a diweddaf Satan i achub ei deyrnas rhag dadymchweliad; er, efallai, y bydd iddo wneyd ymdrechiadau cyffelyb drachefn i'w hadennill tua diwedd y byd.

Pan ddechreuo yr Ysbryd gael ei dywallt mór ogoneddus, pan welo y diafol y fath luoedd yn cyrchu at Grist o'r naill genedl a'r llall, pan fyddo sylfeini a cholofnau ei deyrnas yn barod i ddinystr buan a disymwth, holl uffern a ddychryna yn ddirfawr. Mae arswyd gwastadol ar Satan rhag i'w deyrnas gael ei dadymchwelyd, ac efe a wnaeth lawer o weithredoedd mawrion i attal hyny, yn enwedig er dyddiau Cystenyn. I'r dyben hwn y gosododd i fyny

deyrnasoedd galluog Anghrist a Mahomet, ac y dygodd i mewn yr holl gyfeiliornadau, ofergoelion, a daliadau llygredig i'r byd. Ond pan welo y cyfan yn dechreu pallu, efe a ymffyrniga i'r eithaf. Os oedd Satan yn ofni cael ei fwrw allan gynt o'r ymherodraeth Rufeinig, pa faint mwy yr arswyda gael ei fwrw ymaith o'r holl fyd!

Ymddengys y bydd iddo, yn y gwrthwynebiad mawr ac olaf hwn, uno holl alluoedd Anghristiaeth, Mahometaniaeth, a Phaganiaeth; a holl rym teyrnas weledig Satan trwy y byd trigiannol i gyd. Ac o herwydd hyny y dywedir, fod "ysbrydion cythreuliaid yn myned allan at freninoedd y ddaear, a'r holl fyd, i'w casglu hwy i ryfel y dydd hwnw, dydd mawr Duw Hollalluog." Ac fe ddywedir fod yr ysbrydion hyn yn dyfod allan o safn y *ddraig*, ac allan o safn y *bwystfil*, ac allan o enau y *gau-brophwyd;* hyny yw, ysbryd Pabyddiaeth, ysbryd Paganiaeth, ac ysbryd Mahometaniaeth, a gyd-ymunant. Wrth y bwystfil y meddylir Anghrist; ac wrth y ddraig, yn y llyfr hwn, yn gyffredinol, y meddylir y diafol, fel y mae yn llywodraethu yn ei deyrnas Baganaidd; wrth y gau-brophwyd y meddylir weithiau y Pab a'i offeiriaid; ond ymddengys mai at Mahomet y cyfeirir yma, yr hwn a elwir gan ei ganlynwyr yn brophwyd mawr Duw. Y rhai hyn, fel pe b'ai, fyddant ymegnïadau yr hen sarph wrth farw; brwydr yn yr hon yr ymladd fel un fyddo agos yn anobeithiol.

Nis gwyddom yn neillduol yn mha ddull y gwneir y gwrthwynebiad hwn. Y mae yn cael ei arddangos fel rhyfel; ac yn cael ei alw yn *rhyfel dydd mawr Duw Hollalluog*. Fe fydd ymrysonfa rymus ryw ffordd neu gilydd rhwng teyrnas Satan a'r eglwys, ac, efallai, yn mhob ffordd o wrthwynebiad a ellir wneyd: a diamheuol y gwneir gwrthwynebiad mawr trwy rym allanol. Tywysogion y byd, y rhai ydynt ar ochr y diafol, a ymunant law-law: canys dywedir, fod "breninoedd y ddaear wedi ymgynnull yn nghyd i wneuthur rhyfel." Dat. 19. 19. Y mae yn debygol hefyd y gwneir gwrthwynebiad mawr gan ddadleuwyr dichellgar a

rhesymiadau cnawdol, erlidigaeth, gwaradwyddiadau diystyrllyd, dyfais a chyfrwysdra. Bydd i'r diafol yn awr yn ddiamheuol wneyd defnydd o'i ddyfais, cystal a'i nerth, hyd yr eithaf; a chyfyd deiliaid ei deyrnas i fyny yn mhob lle, i wneyd gwrthwynebiad egnïol ac unol yn erbyn y grefydd sanctaidd, yr hon a welant yn llwyddo mór rymus yn y byd. Ond,

3. Crist a'i eglwys a gant *fuddugoliaeth gyflawn a llwyr ar eu gelynion* yn y frwydr hon. Ymlidir a dadymchwelir hwy yn hollol yn eu hymdrech diweddaf hwn. Pan y mae galluoedd uffern a daear yn cydymgynnull fel hyn yn erbyn Crist, a'i fyddinoedd yntau yn dyfod i'w gwrthwynebu hwy yn ei air a'i Ysbryd, mór ardderchog y darlunir buddugoliaeth Crist a'i eglwys yn y frwydr hon! Dat. 19. 11, &c. Ac i ddangos pa mór gyflawn fydd y fuddugoliaeth a gant, ac mór fawr fydd dadymchweliad eu gelynion, dywedir yn adnodau 17, 18, y bydd "holl ehediaid y nefoedd yn cael eu gwahodd yn nghyd, i fwyta o'r swper mawr," a roddwyd iddynt, "o gig breninoedd, a chig pen-cadbeniaid, a chig y cedyrn," &c.; ac yn yr adnodau canlynol nyni a gawn hanes pennodol am y fuddugoliaeth a'r dadymchweliad.

Yn y fuddugoliaeth hon y bydd y seithfed phïol yn cael ei thywallt. Ac fe ddywedir (Dat. 16. 16) am y fyddin fawr fydd wedi ymgasglu yn nghyd yn erbyn Crist, "Efe a'u casglodd hwynt yn nghyd i le a elwir yn Hebraeg *Armagedon*;" ac yna y dywedir, "A'r seithfel angel a dywalltodd ei phïol i'r awyr; a daeth llef allan o deml y nef, oddiwrth yr orseddfaingc, yn dywedyd, *Darfu.*" Yn awr y bydd gorchwyl Satan a'i ganlynwyr wedi darfod. Pan yr ennillir y fuddugoliaeth hon, bydd pob peth o ran effaith wedi darfod. Mae gwrthwynebrwydd mwyaf a diweddaf Satan wedi ei orchfygu; ei holl gynlluniau wedi methu; colofnau ei deyrnas wedi eu tóri odditanynt, ac o ganlyniad yn sicr o gwympo. Bydd y diafol wedi ei hollol siomi a'i waradwyddo, ac nis gwyr pa beth arall a wna. Efe a wel yn awr fod ei deyrnasoedd Anghristaidd, Mahometanaidd a Phaganaidd

yn cwympo bendramwngl trwy y byd. Efe a'i offerynau galluog a gymerir yn gaethion. Yn awr y gwneir mewn effaith, yr hyn y bu eglwys Dduw cyhyd yn ei ddysgwyl a'i obeithio, ac yn llefain am dano mór daer, "Pa hŷd, Arglwydd, sanctaidd a chywir," &c. Bydd yr amser hwn yn awr wedi dyfod.

Yr angel yr hwn sydd a'i droed dehau ar y môr a'i aswy ar y tir, a gyfyd ei law i'r nefoedd, ac a dwng i'r *Hwn sydd yn byw yn oes oesoedd*, na bydd amser mwyach, wedi yr udgano y seithfed angel. Ac yn awr mae yr amser wedi dyfod; mae y seithfed udgorn yn udganu, a'r seithfed phïol yn cael ei thywallt, ar yr un pryd; yr hyn sydd yn lledarwyddo fod pob peth wedi ei orphen gyda golwg ar ddadymchweliad teyrnas weledig Satan ar y ddaear. Bydd hon yn fwy buddugoliaeth o lawer nac un a ennillwyd erioed ar Satan a'i ganlynwyr. Y gareg a dórwyd o'r mynydd, yr hon ni thórwyd â llaw, trwy y dyrnod hwn, a dery y ddelw o aur, ac arian, a phres, a haiarn, a chlai, nes ei dryllio hi yn chwilfriw. Rhydd hyn ddyrnod gorphenol i'r ddelw, nes y byddo fel mân us y lloriau-dyrnu haf.

Amlygir dwyfol allu yn y modd mwyaf gogoneddus yn y fuddugoliaeth hon. Ymddengys Crist ynddi yn nodweddiad Brenin breninoedd, ac Arglwydd arglwyddi. Dat. 19. 16. Crist yn awr a ddryllia ei elynion, hyd yn nod y cadarnaf a balchaf o honynt; fel y dryllir llestr y crochenydd y malurir hwy. Yna y dangosir nerth mewn gwendid, ac y gwna Crist i'w eglwys ddyrnu y mynyddoedd. Esa. 41. 15. "Wele, gosodaf di yn fén-ddyrnu ddanneddog; y mynyddoedd a ddyrni, ac a feli, gosodi hefyd y bryniau fel mwlwg." Esa. 42. 13—15.

III. Y canlyniad o'r fuddugoliaeth hon, *fydd dinystrio teyrnas weledig Satan ar y ddaear.* Wedi gorchfygu Satan yn y frwydr ddiweddaf hon, daw eglwys Crist drwyddi yn hawdd; fel Ioshua a meibion Israel, pan yr ennillasant y frwydr fawr ar bum' brenin yr Amoriaid. Wedi i'r haul sefyll yn llonydd, ac i Dduw anfon y cenllysg mawrion ar

eu gelynion, hwy a oresgynasant eu dinasoedd a'u gwlad yn rhwydd; ac yn gyffelyb i hyn yr oedd ar ol y frwydr fawr a fu rhwng Ioshua a'r fyddin luosog wrth ddyfroedd Merom. Felly y bydd ar ol y fuddugoliaeth ogoneddus a gaiff Crist a'i eglwys yn y frwydr hon ar eu gelynion, sef prif alluoedd teyrnas Satan, hwy a ddinystriant holl ddinasoedd a gwledydd ei deyrnas ef. Ar ol hyn, gair Duw a red yn dra buan trwy yr holl ddaear; fel y dywedir, ar dywalltiad y seithfed phïol, i "ddinasoedd y cenedloedd syrthio, a'r ynysoedd ffoi ymaith, ac na bydd lle i'r mynyddoedd." Dat. 16. 19. 20. Wedi i'r gareg a dórwyd o'r mynydd, yr hon ni thórwyd â llaw, unwaith ddryllio y ddelw, peth hawdd fydd dyddimu ei holl weddillion. Y gwynt a'i dwg ymaith fel y mân us o'r lloriau dyrnu hâf. Ac o herwydd y bydd teyrnas weledig Satan yn cael ei dinystrio y pryd hwn ar y ddaear, y dywedir y bydd i'r seithfed phïol, trwy yr hyn y dryllir ei deyrnas ef, gael ei thywallt i'r awyr; yr hwn le sydd yn cael ei arddangos yn yr ysgrythyr fel gorseddfaingc neillduol ei lywodraeth ef; canys gelwir ef yn "dywysog llywodraeth yr awyr." Eph. 2. 2. Yn awr y daeth yr amser i gospi lefiathan, y sarph hir-braff hono yr ydym yn darllen am dani yn Esa. 27. 1. "Y dydd hwnw yr ymwêl yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â lefiathan y sarph hir-braff, ïe, â lefiathan y sarff dorchog; ac efe a ladd y ddraig sydd yn y môr."

Mewn perthynas i'r dadymchweliad hwn i deyrnas weledig Satan ar y ddaear, bwriadwyf ddangos yn mha bethau yn benaf y bydd yn gynnwysedig, yn nghyda'i ehangder a'i gyffredinolrwydd.

1. Yn mha bethau yn benaf y bydd yn gynnwysedig. Crybwyllaf rai o'r prif bethau y bydd yn gynnwysedig ynddynt, heb haeru yn benderfynol yn mha ddull y dygir hwy oddiamgylch, neu ynte a gyflawnir hwy oll yn nghyd.

(1.) Dyddimir *cyfeiliornadau*, *anffyddiaeth*, ac *ofergoeledd*, y pryd hwn yn mysg y rhai a ddygwyd i fyny dan oleuni yr efengyl; ac *Anffyddiaeth*, yn enwedig, yr hwn sydd yn

bresennol môr hyf a hyderus, a yrir ymaith, ac a ddiflana. Bydd pawb yn cydweled yn yr un athrawiaethau efengylaidd mawrion a phwysig. Zech. 14. 9. "A'r Arglwydd a fydd yn Frenin ar yr holl ddaear: y dydd hwnw y bydd un Arglwydd, a'i enw yn un." Yna y dyddimir pob dull ofergoelus o addoli, a phawb a gydunant i addoli Duw yn ei ffordd ef ei hun. Ier. 32. 39. "A mi a roddaf iddynt un galon, ac un ffordd, i'm hofni byth, er lles iddynt, ac i'w meibion ar eu hol."

(2.) Teyrnas *Anghrist* a hollol ddadymchwelir. Bu tywalltiad y phïol ar ei orseddfaingc yn amser y Diwygiad yn achlysur i leihau ei lywodraeth i raddau helaeth; ond fe lwyr ddinystrir ei deyrnas y pryd hyn. Yna y cyhoeddir, "Syrthiodd, syrthiodd, Babilon fawr." Pan lefo y seithfed angel, "fod amser, amseroedd, a hanner amser," wedi dyfod i ben, ac "na bydd amser mwyach;" yna y cyflawnir ar Anghrist yr hyn a ysgrifenwyd (Dat. xviii.) am y Babilon ysbrydol, y llywodraeth Rufeinig eilunaddolgar, yr hon a fu yn elynes môr fawr i'r eglwys Gristionogol am gynifer o oesoedd; yn gyntaf dan Baganiaeth, ac yna dan Babyddiaeth,—y ddinas falch hono a ymddyrchafodd hyd y nef, yn ei balchder a'i thrahausder; ïe, y ddinas greulon, waedlyd hono a ddaw i lawr hyd ei sylfaen. Y pryd hyny y cyflawnir Esa. 26. 5: "Canys efe a ostwng breswylwyr yr uchelder; tref uchel a ostwng efe: efe a'i darostwng hi i'r llwch." Hi a deflir i lawr gyda thanbeidrwydd, fel maen melin yn cael ei daflu i'r môr, ac ni bydd i'w chael mwyach, ond hi a fydd yn drigfa cythreuliaid, yn breswylfa ysbrydion aflan, ac yn nyth i bob aderyn aflan ac atgas. Dïosgir hi yn awr o'i holl ogoniant, ei chyfoeth a'i haddurniadau, a hi a fwrir allan fel canghen ffiaidd, ac a fethrir fel tom yr heolydd. Ei holl gyfrwysdra a'i dichell, o'r hyn yr ydoedd môr oludog, nis gallant ei hachub hi. Holl nerth a doethineb y butain fawr hon a fethant yn awr, ac ni bydd neb i'w chynorthwyo. Breninoedd y ddaear, y rhai gynt a roddasant eu hawdurdod a'u gallu i'r bwystfil, yn awr a gasânt y but-

ain, gwnant hi yn anghyfannedd, dynoethant hi, bwytânt ei chnawd hi, a llosgant hi â thân. Dat. 17. 16.

(3.) Teyrnas *Fahometanaidd* Satan hefyd a hollol ddadymchwelir. Mae i'r locustiaid a'r gwyr meirch (Dat. ix.) eu hamser pennodedig a therfynol, a'r gau-brophwyd a ddelir ac a ddystrywir. Ac yna Mahometaniaeth, er mór helaeth yr ymledaenodd dros y byd, a'i bod yn cael ei chynnal i fyny gan y fath ymherodraeth ëang, eto fe fydd i'r mŵg yma, yr hwn a esgynodd i fyny o'r pydew heb weulod, ddiflannu yn llwyr o flaen goleuni y dydd gogoneddus sydd ar ddyfod; ac ymherodraeth Mahomet, wrth sŵn yr udgorn mawr a seinir y pryd hwnw, a chwythir ymaith.

(4.) *Anghrediniaeth Iuddewig* hefyd a ddileuir y pryd hwnw. Er mór wrthnysig y mae yr Iuddewon wedi dal i wrthod Crist er's mwy na dau gant ar bymtheg o flynyddoedd, er mór anfynych yw yr esiamplau o ddychweliad neb o honynt er dinystr Ierusalem, ac er iddynt barhau i gymeradwyo creulondeb eu cyndadau yn croeshoelio Crist, a hyny yn groes i eiriau eglur eu prophwydi eu hunain—eto pan ddelo y dydd hwn, fe symudir ymaith y gorchudd tew sydd yn dallu eu llygaid, (2 Cor. 3. 16;) dwyfol ras a feddalhâ ac a adnewydda eu calonau celyd, a hwy a "edrychant arno ef yr hwn a wânasant, ac a alarant am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac a ymofidiant am dano megys un yn gofidio am ei gyntaf-anedig." Zech. 12. 10, &c. Yna yr achubir tŷ Israel: yr Iuddewon yn eu holl wasgariadau a fwriant ymaith eu hanghrediniaeth, ac a gant gyfnewidiad rhyfeddol yn eu calonau, a hwy a ffieiddiant eu hunain o herwydd eu hanghrediniaeth a'u cyndynrwydd yn ystod yr amseroedd a aethant heibio. Hwy a brysurant yn nghyd at yr Iesu bendigedig, yn edifeiriol a gostyngedig, gan ei addef ef yn llawen fel eu Brenin gogoneddus a'u hunig Waredwr, ac â'u holl nerth, ac âg un galon ac un llais, hwy a ddadganant ei glod i genedloedd ereill.

Nid oes dim yn cael ei ragfynegu gyda mwy o sicrwydd nac adferiad cenedlaethol yr Iuddewon. Rhuf. xi. Y mae

llawer o fanau hefyd yn yr Hen Destament nas gellir eu deall mewn un ystyr arall. Heblaw y prophwydoliaethau am alwad yr Iuddewon, y mae genym sêl ragluniaethol nodedig o gyflawniad yr amgylchiad mawr hwn, trwy fath o wyrth barhaus, sef *eu diogeliad yn genedl wahanol mewn sefyllfa mór wasgaredig hyd yr amser presennol.* Nis gall y byd ddangos dim arall cyffelyb iddo. Diamheu fod gan Ragluniaeth law nodedig yn hyn. A phan y gelwir hwy, yna y caiff yr hen genedl, y rhai fuont unig bobl Dduw am gyhyd o amser, eu gwneyd yn bobl iddo ef drachefn, ac nis gwrthodir hwy byth mwyach. Yna y cant eu casglu i'r un gorlan gyda'r cenedloedd; ac felly hefyd y bydd i weddillion y deg llwyth, pa le bynag y maent, er iddynt fod yn wrthodedig er ys llawer mwy o amser na'r Iuddewon, gael eu dwyn i mewn gyda'u brodyr. Y mae prophwydoliaethau Hosea yn neillduol yn gosod allan y bydd i Iudah ac Ephraim, neu Iudah a'r deg llwyth, yn yr amseroedd gogoneddus sydd i ddyfod ar yr eglwys, gael eu dwyn i mewn gyda'u gilydd, a'u huno megys un bobl, fel yr oeddynt gynt dan Dafydd a Solomon. Hos. 1. 11, &c. Er nas gwyddom pa bryd y bydd i adferiad Israel gymeryd lle; eto gallwn benderfynu oddiwrth yr ysgrythyr y bydd hyny cyn y byddo gogoniant yr eglwys yn gyflawn yn mysg y Cenedloedd; o herwydd fe ddywedir y bydd eu dyfodiad hwy i mewn megys bywyd o feirw i'r Cenedloedd. Rhuf. 11. 12–15.

(5.) Y pryd hwnw hefyd y dadymchwelir teyrnas *Baganaidd* Satan. Paganiaeth dudew sydd yn awr yn meddiannu rhan fawr o'r ddaear. Ond y pryd hwnw fe fydd i'r efengyl ogoneddus oleuo y cenedloedd Paganaidd. Fe gyfyd ysbryd rhyfeddol o dosturi yn mysg Cristionogion tuag atynt, ac awydd mawr am eu hyfforddi a'u dychwelyd, a llawer a ânt allan gan gludo yr efengyl iddynt. Yna y clywir y sain gorfoleddus yn eu plith, a Haul cyfiawnder a gyfyd gan belydru yn ogoneddus ar yr ardaloedd ëaing hyny o'r ddaear, sydd yn cael eu gorchuddio gan dywyllwch Paganiaeth er's amryw filoedd o flynyddoedd: llawer o ba

rai yn ddiamheuol sydd wedi bod byth er dyddiau Moses ac Abraham yn gorwedd fel hyn mewn cyflwr truenus, dan orthrwm creulon y diafol, yr hwn sydd wedi bod trwy yr holl amser yma yn eu dallu a'u ffoli, gan ormesu arnynt a'u hanrheithio. Yn awr y bydd i newyddion da yr efengyl gael eu seinio yn eu mysg, a hwy a ddygir allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef.

Addewir mewn amrywiol fanau, mai fel hyn y bydd i Baganiaeth gael ei ddinystrio. Dywedodd Duw y byddai i'r duwiau nas gwnaethant y nefoedd a'r ddaear, gael eu dyfetha oddiar y ddaear, ac odditan y nefoedd, (Ier. 10. 11,) ac y byddai iddo fwrw ymaith yr eilunod yn hollol. Esa. 2. 18. Fe ymwêl goleuni gogoneddus yr efengyl y pryd hwnw âg amrywiol genedloedd Affrica, y rhai nid ydynt yn bresennol o ran eu sefyllfa ond ychydig uwchlaw y gwylltfilod, ac ar amrywiol olygiadau yn llawer îs, a chwâl ymaith eu holl dywyllwch, a hwy a ddeuant yn bobl waraidd, Gristionogol, wybodus a sanctaidd. Yr amser hwnw y bydd cyfandir ëang America, ar yr hwn y mae cymaint o anwybodaeth a chreulondeb yn ffynu yn awr, wedi ei orchuddio i gyd drosto â goleuni gogoneddus yr efengyl a chariad Cristionogol: ac yn lle addoli y diafol, fel y gwna lluaws yn awr, hwy a wasanaethant Dduw, ac a ganant foliant i'r Arglwydd Iesu Grist, Iachawdwr bendigedig y byd, yn mhob lle. Gallwn ddysgwyl mai felly y bydd hefyd gyda gwledydd ëaing a phoblog y Dwyrain, y rhan fwyaf o breswylwyr pa rai yn bresennol ydynt addolwyr y diafol. Yna y bydd teyrnas Crist wedi ei sefydlu yn y gwledydd ëaing a ddarganfuwyd yn ddiweddar tua 'r ddau begwn, lle nad yw dynion yn gwahaniaethu nemawr oddiwrth yr anifeiliaid gwylltion oddyeithr mewn drygioni. Yr un modd hefyd y bydd gyda golwg ar wledydd sydd eto heb eu darganfod. Fel hyn y cyflawnir yr addewid ogoneddus yn Esa. 35. 1: "Yr anialwch a'r anghyfanneddle a lawenychant o'i phlegyd; y diffaethwch hefyd a orfoledda, ac a flodeua fel rhosyn." Gwel hefyd adnodau 6, 7.

2. Wedi dangos fel hyn yn mha bethau y bydd dadymchweliad teyrnas Satan yn gynnwysedig, deuaf yn bresennol i sylwi ar eu *heangder cyffredinol.* Dadymchwelir teyrnas weledig Satan, a gosodir teyrnas Crist i fyny ar ei hadfeiliau, yn mhob lle trwy y byd trigiannol. Yn awr y cyflawnir yr addewid a wnaed i Abraham, sef mai ynddo ef ac yn ei had ef y "bendithid holl deuluoedd y ddaear;" ac y deuai Crist yn "ddymuniant yr holl genedloedd." Hag. 2. 7. Bydd teyrnas Crist y pryd hyn, yn yr ystŷr mwyaf manwl a llythyrenol, wedi ei heangu dros yr holl genedloedd, a'r holl ddaear. Y mae amryw ranau o'r ysgrythyr nas gellir eu deall mewn un ystyr arall. Beth all fod yn fwy cyffredinol nac Esa. 11. 9: "Canys y ddaear a fydd yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn toi y môr:" yr hyn sydd cystal a dweyd, Gan nad oes na chyfyng-ffos na cheudwll o wely y cefnfor nad ydynt yn cael eu gorchuddio gan ddyfroedd, felly ni bydd un ran o'r byd cyfanneddol na bydd yn cael ei doi â gwybodaeth yr Arglwydd. Felly y rhagddywedir yn Esa. 45. 22, y bydd i "holl gyrau y ddaear" droi at Grist am achubiaeth. Ac i ddangos fod y geiriau i'w deall yn yr ystyr mwyaf cyffredinol, dywedir yn yr adnod nesaf, "I mi fy hun y tyngais, aeth y gair o'm genau mewn cyfiawnder, ac ni ddychwel, mai i mi y plyga pob glin, y twng pob tafod." Felly y mae yr ymadrodd mwyaf cyffredinol yn cael ei ddefnyddio yn Dan. 7. 27: "A'r freniniaeth a'r llywodraeth, a mawredd y freniniaeth dan yr holl nefoedd, a roddir i bobl saint y Goruchaf."

Pan y bwriwyd y diafol allan o'r ymherodraeth Rufeinig, gan mai hi oedd y rhan uchaf a phenaf o'r byd, ac nad oedd y cenedloedd ereill ond isel a gwael mewn cydmariaeth, y mae yn cael ei arddangos fel syrthiad Satan o'r nefoedd i'r ddaear, (Dat. 12. 9;) ond arddangosir y bydd iddo gael ei fwrw o'r ddaear hefyd, a'i gau i fyny yn uffern, Dat. 20. 1—3. Hwn fydd y mwyaf o'r holl chwyldröadau; gan hyny dywedir (Dat. 16. 17, 18) fod "daear-gryn mawr,

y fath ni bu er pan yw dynion ar y ddaear, cymaint daeargryn, ac môr fawr," ar dywalltiad y seithfed phïol. A hon yw y drydedd o oruchwyliaethau mawrion Rhagluniaeth, a gydmerir yn yr ysgrythyr i ddyfodiad Crist i'r farn. Dat. 16. 15. Yno, ar ol tywalltiad y chwechfed phïol, ac ymgasglu o fyddinoedd y diafol yn nghyd i'r frwydr fawr, ac ychydig cyn buddugoliaeth ogoneddus Crist arnynt, dywedir, "Wele, yr wyf fi yn dyfod fel lleidr. Gwyn ei fyd yr hwn sydd yn gwylio, ac yn cadw ei ddillad," &c. Felly y mae yn cael ei alw yn *ddyfodiad Crist*, 2 Thes 2. 8. Wrth lefaru am Anghrist, dywedir, "Ac yna y datguddir yr Anwir hwnw, yr hwn a ddyfetha yr Arglwydd âg ysbryd ei enau, ac a ddilëa â dysgleirdeb ei ddyfodiad." Gwel hefyd Dan. 7. 13, 14, lle y mae dyfodiad Crist i osod ei deyrnas i fyny ar y ddaear, ac i ddinystrio Anghrist, yn cael ei alw ei *ddyfodiad gyda chymylau y nefoedd.* Ac y mae yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon yn fwy tebyg i ddyfodiad Crist i'r farn, nac un o'r rhai a elwir felly yn flaenorol. Bydd yr oruchwyliaeth hon gymaint yn fwy a helaethach, ac felly yn debycach i ddydd y farn, yr hwn fydd yn dal perthynas â'r holl fyd. Bydd yr adgyfodiad ysbrydol mawr yn eglwys Dduw, a fydd yn cydfyned â hi, yn fwy cyffelyb i'r adgyfodiad cyffredinol ar ddiwedd y byd nac un o'r lleill. Gwel Dat. 20. 4.

Goddiweddir gelynion Duw yn awr â barnedigaethau dychrynllyd a dinystr ofnadwy. Mae yn ddiamheuol y bydd llaw Duw yn cael ei dynoethi yn arswydus yn erbyn y cablwyr, yr anffyddwyr, yr anghredinwyr gwrthnysig, a gelynion ereill Crist, ar ddechreuad yr oruchwyliaeth hon, gan eu dinystrio yn ddychrynllyd, gydag amlygiadau neillduol o ddigllonrwydd a dialedd. Bydd yn cydfyned â'r oruchwyliaeth hon farnedigaethau nodedig ar Anghrist; caiff erlidwyr creulon eglwys Rufain eu dinystrio mewn modd arswydus; yr hyn sydd yn cael ei gydmaru i fwrw Anghrist i dân llosgadwy, (Dan. 7. 11,) ac i'w daflu yn fyw i'r llyn sydd yn llosgi o dân a brwmstan. Dat. 19. 20.

Caiff yr eglwys erlidigaethus a chreulon hon y pryd hwn ddyoddef barnedigaethau llawer mwy echrydus oddiwrth Dduw na'r rhai a arferodd hi tuag at y saint. Dat. 18. 6. 7. Mór ofnadwy fydd y barnedigaethau a oddiweddant elynion eglwys Crist, fel y cydmerir hwynt i genllysg mawr, cyffelyb i dalentau, yn syrthio arnynt o'r nef oddiwrth Dduw, fel y dywedir, ar dywalltiad y seithfed phïol. Dat. 16. 21. "A chenllysg mawr, fel talentau, a syrthiasant o'r nef ar ddynion: a dynion a gablasant Dduw am blâ y cenllysg: oblegyd mawr iawn ydoedd eu plâ hwynt." Y pryd hwn y sethrir gwinwydden y ddaear yn ngherwyn digofaint Duw, yr hyn sydd yn cael son am dano yn Dat. 14. 19, 20.

Rhydd hyn derfyn i gyflwr trallodus yr eglwys, a bydd yn cydfyned âg ef foliannu a chlodfori gorfoleddus o'u heiddo. Mae yr eglwys wedi bod mewn sefyllfa helbulus yn barhaus, oddyeithr rhyw ychydig o attaliadau byrion, o adgyfodiad Crist hyd yn hyn; ond fe roddir terfyn gorphenol i'w sefyllfa ofidus y pryd hwn. Mae yn wir y bydd i'r eglwys, ar ol hyn, yn agos i ddiwedd y byd, gael ei bygwth yn enbyd drachefn; eithr dywedir na bydd hyn ond am *dymhor byr*, (Dat. 20. 3;) canys megys nad ydyw amserau gorphwysdra yr eglwys ond byr, cyn dybenu hir-ddydd ei chystudd; felly pa gystudd bynag a ddaw i'w rhan wedi hyn, ni bydd ond byr. Bydd helbulon ac erlidigaethau yr eglwys ar bob golygiad arall wedi darfod yn gwbl. Mae yr ysgrythyrau, mewn amryw fanau, yn llefaru am yr amser hwn fel yn rho'i terfyn i sefyllfa drallodus yr eglwys. Felly yn Esa. 51. 22: "Wele, cymerais o'th law y cwpan erchyll, sef gwaddod cwpan fy llidiogrwydd: ni chwanegi ei yfed mwy." Yna y cyhoeddir i'r eglwys, (Esa. 40. 1, 2,) "Cysurwch, cysurwch, fy mhobl, medd eich Duw. Dywedwch wrth fodd calon Ierusalem, llefwch wrthi hi, gyflawnu ei milwriaeth, ddileu ei hanwiredd: o herwydd derbyniodd o law yr Arglwydd yn ddau-ddyblyg am ei holl bechodau." Esa. 54. 8, 9; a 60. 20. "O herwydd yr Arglwydd a fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a dyddiau dy alar a ddarfyddant." Seph. 3.

15. "Tynodd yr Arglwydd ymaith dy farnau, bwriodd allan dy elynion: yr Arglwydd, Brenin Israel, sydd yn dy ganol, nid ofni ddrwg mwyach."

Diwrnod cystudd yr eglwys oedd yr amser cyn hyn, yn ystod yr hwn yr oedd yn hau mewn deigrau a gwaed; ond yn awr y mae ei chynhauaf wedi dyfod, o'r hwn y dychwel yn orfoleddus, gan ddwyn ei hysgubau gyda hi. Y mae amser gwewyr y wraig a wisgwyd â'r haul yn awr wedi darfod. Bydd hi y pryd hwn wedi esgor ar ei mab: canys gosodiad teyrnas Crist fel hyn i fyny dros y byd, yw y peth y bu yr eglwys yn y fath wewyr a gwasgfeuon dir-boenus am dano dros gynifer o oesoedd. Esa. 26. 17. "Fel y gofidia ac y gwaedda gwraig feichiog dan ei gwewyr, pan fyddo agos i esgor; felly yr oeddym o'th flaen di, Arglwydd." Esa. 60. 20, a 61. 10, 11. Fe anghofia yr eglwys ei chystudd y pryd hyn: yna y canlyn ei moliant a'i gorfoledd buddugoliaethus, ac yr esgyn ei chlodforiadau at Dduw o bob parth o'r ddaear, (Esa. 42. 10—12;) ac nid yn unig y ddaear a lenwir â mawl, eithr y nefoedd hefyd. Bydd yr eglwys ar y ddaear, a'r eglwys yn y nefoedd, yn cydlawenychu ac yn cydfoliannu Duw âg un galon. Bydd hwn yn amser o lawenydd a chlodforedd godidog yn mhlith y prophwydi a'r apostolion sanctaidd, a'r saint ereill yn y nefoedd. Dat. 18. 20. "Llawenhâ o'i phlegyd hi, y nef, a chwi, apostolion sanctaidd a phrophwydi; oblegyd dïalodd Duw arni drosoch chwi." Esa. 44. 23. "Cenwch, nefoedd: canys yr Arglwydd a wnaeth hyn: bloeddiwch, gwaelodion y ddaear; bloeddiwch ganu, fynyddoedd, y coed, a phob pren ynddo: canys gwaredodd yr Arglwydd Iacob, ac yn Israel yr ymogonedda efe." Gwelwn y fath fawl gogoneddus a genir i Dduw ar yr achlysur yma gan yr eglwys gyffredinol yn y nefoedd a'r ddaear. Dat. xix.

Mae yr oruchwyliaeth hon yn fwy tebyg i ddyfodiad Crist i'r farn nac un o'r rhai o'r blaen, yn gymaint a'i bod yn rhoddi terfyn i sefyllfa flaenorol y byd, ac yn arwain iddo deyrnas dragywyddol Crist. Teyrnas weledig Satan,

wedi sefyll o honi byth oddiar adeiladaeth Babel, a ddadymchwelir yn awr; bydd yr hen nefoedd a'r hen ddaear wedi myned heibio i fesur helaethach, a'r nefoedd newydd a'r ddaear newydd wedi eu gosod i fyny mewn dull llawer mwy gogoneddus nac erioed o'r blaen.—Dangosais fel hyn pa fodd y dygwyd llwyddiant prynedigaeth Crist rhagddo yn ystod yr amseroedd yr oedd yr eglwys Gristionogol yn ei chyflwr cystuddiedig, sef o adgyfodiad Crist hyd oni chwympir Anghrist, ac y dadymchwelir teyrnas weledig Satan ar y ddaear.

---

## PEN. VIII.

*Llwyddiant y Prynedigaeth yn ystod yr Amser y bydd yr Eglwys Gristionogol, am y rhan fwyaf o hono, mewn sefyllfa heddychol a ffynedig.*

I'R dyben o roddi desgrifiad o'r yspaid hwn, llefaraf, yn *gyntaf*, am sefyllfa lwyddiannus yr eglwys yn ystod y rhan fwyaf o'r cyfnod yma; ac yn *ail*, am y gwrthgiliad mawr a fydd tua 'i ddiwedd.

I. Am *sefyllfa lwyddiannus* yr eglwys. Sylwaf ar ddau beth yn gyffredinol:

1. Mai hwn, yn fwyaf priodol, yw amser *teyrnas nefoedd ar y ddaear.* Er i deyrnas nefoedd gael ei gosod i fyny i fesur yn fuan wedi adgyfodiad Crist, ac i fesur pellach yn amser Cystenyn; ac er fod yr eglwys Gristionogol yn ystod yr holl oesoedd yn cael ei galw yn *deyrnas nefoedd*, eto hwn yw prif amser teyrnas nefoedd ar y ddaear, yr amser y cyfeirir ato yn benaf yn mhrophwydoliaethau Daniel, oddiwrth yr hyn y cymerodd yr Iuddewon yr enw *teyrnas nefoedd.*

2. Yn bresennol y bydd i *brif gyflawniad* holl *brophwydoliaethau* yr Hen Destament, sydd yn llefaru am amseroedd gogoneddus yr efengyl yn y dyddiau diweddaf, gymeryd lle.

Er fod cyflawniad gogoneddus o'r prophwydoliaethau hyny wedi cymeryd lle yn barod, yn amseroedd yr apostolion a Chystenyn; eto y mae yr ymadroddion yn rhy oruchel i gydweddu âg un amser arall ond yr hwn sydd i ganlyn cwymp Anghrist. Hwn, yn fwyaf priodol, fydd dydd gogoneddus yr efengyl. Nid oedd yr amserau ereill ond rhagredyddion parotöawl i'r amser hwn: tymhor hau oeddynt hwy, hwn yw y cynhauaf. Ond yn fwy neillduol,

(1.) Bydd yn amser goleu a llawn iawn o *wybodaeth*. Dyddiau o dywyllwch mewn cydmariaeth i'r dyddiau hyny yw y rhai presennol. Bydd gogoniant yr amser ardderchog hwnw mór fawr, fel y mae yn cael ei osod allan megys amser heb nos—dim ond dydd: dim hwyr na thywyllwch. Zech. 14. 6. 7. "A'r dydd hwnw y daw i ben, na byddo goleuni dysglaer, na thywyll: ond bydd un diwrnod, hwnw a adwaenir gan yr Arglwydd, nid dydd, ac nid nos; ond bydd goleuni yn yr hwyr." Arddangosir yn mhellach fel pe byddai i Dduw y pryd hwnw roddi goleuni cymaint mwy rhagorol i'w eglwys na'r eiddo yr haul a'r lleuad nes y byddant hwy yn cywilyddio. Esa. 24. 23. "Yna y lleuad a wrida, a'r haul a gywilyddia, pan deyrnaso Arglwydd y lluoedd yn mynydd Sïon ac yn Ierusalem, ac o flaen ei henuriaid mewn gogoniant."

Y mae math o lén yn bresennol yn gorchuddio y rhan fwyaf o'r byd, yr hon sydd yn eu cadw mewn tywyllwch: ond y pryd hwnw fe fydd i'r gorchudd hwn gael ei symud. Esa. 25. 7. "Ac efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r llén yr hon a daenwyd ar yr holl genedloedd." Yna y bydd yr holl wledydd a'r cenedloedd, ïe, y rhai ydynt fwyaf anwybodus yn bresennol, yn llawn o oleuni a gwybodaeth. Bydd gwybodaeth mawr yn llwyddo yn mhob man. Y mae lle i obeithio y bydd llawer o'r Affricaniaid a'r Indiaid yn dduwinyddion y pryd hwnw, ac y bydd llyfrau rhagorol yn cael eu cyhoeddi yn Affrica, yn Ethiopia, yn Tartari, a gwledydd ereill sydd yn awr mewn cyflwr o anwareidd-dra; ac nid yn unig y

dysgedigion fyddant yn ddeallus mewn pethau crefyddol y pryd hwnw, ond hefyd dynion o addysg mwy cyffredin. Esa. 32. 3, 4. "Yna llygaid y rhai a welant ni cheuir, a chlustiau y rhai a glywant a wrandawant. Calon y rhai ehud hefyd a ddeall wybodaeth." Bydd gwybodaeth y pryd hwnw yn hynod o gyffredin yn mysg yr holl bobloedd. Ier. 31. 34. "Ac ni ddysgant mwyach bob un ei gymydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnabyddwch yr Arglwydd: o herwydd hwynt-hwy oll a'i hadnabyddant ef, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt."

Fe fydd i'r pethau sydd yn ddyrys yn athrawiaethau crefydd gael eu dad-ddyrysu yn rhyfeddol, a'r anghysonderau ymddangosiadol a eglurir. Gwneir pethau ceimion yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd; a'r tywyllwch a droir yn oleuni o flaen pobl Dduw. Y pethau dyrys yn yr ysgrythyr a wneir yn eglur y pryd hwnw. Ceir allan bethau rhyfedd yn ngair Duw, y rhai nis amlygwyd erioed o'r blaen. Ymddengys fod y datguddiad mawr o'r pethau crefyddol hyn oeddynt o'r blaen yn nghudd, yn cael ei gydmaru i symudiad y gorchudd, i ddangos arch y dystiolaeth i'r bobl, yr hon o'r blaen a arferai gael ei chadw mewn rhan ddirgel o'r deml, fel nad oeddynt hwy byth yn ei gweled. Fel hyn, ar udganiad y seithfed udgorn, pan y cyhoeddir, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef," ychwanegir, "Ac agorwyd teml Dduw yn y nef; a gwelwyd arch ei gyfammod ef yn ei deml ef." Bydd cynydd mór fawr ar wybodaeth yn ystod yr amser hwn, fel y bydd y nefoedd megys yn agored i eglwys Dduw ar y ddaear.

(2.) Bydd hwn yn amser o *sancteiddrwydd* mawr. Bydd gwir grefydd yn awr yn llwyddo ac yn teyrnasu yn mhob man. Bydd yr amseroedd yma yn eithriad i'r hyn a lefarodd Crist mewn perthynas i gyflwr cyffredinol yr eglwys, pan y dywedodd mai *ychydig fyddai y rhai cadwedig;* canys y mae sancteiddrwydd yn awr wedi dyfod yn beth cyffredinol. Esa. 60. 21. "Dy bobl hefyd fyddant gyfiawn oll."

Er na fydd y byd heb neb ynddo mewn cyflwr amddifad o Grist; eto fe ddyddimir annuwioldeb cyhoeddus yn mhob man, ac fe ddaw gwir sancteiddrwydd yn beth cyffredinol, er nad felly yn hollol. Bydd hwn yn amser rhyfeddol, nid yn unig am luosogrwydd y duwiolion, ond hefyd am enwogrwydd gras. Esa. 65. 20. "Ni bydd o hyny allan blentyn o oed, na henafgwr, yr hwn ni chyflawnodd ei ddyddiau: canys y bachgen a fydd marw yn fab canmlwydd; ond y pechadur yn fab canmlwydd a felldithir." Zech. 12. 8. "A bydd y llesgaf o honynt y dydd hwnw fel Dafydd; a thŷ Dafydd fydd fel Duw, fel angel yr Arglwydd o'u blaen hwynt." Ac fe fydd sancteiddrwydd megys wedi ei ysgrifenu ar bob peth, ar holl orchwylion a galwedigaethau dynion, ac ar eu holl ddodrefn: bydd pob peth wedi eu cyflwyno i Dduw, a'u cymhwyso i ddybenion sanctaidd; ïe, bydd pob peth yn cael eu defnyddio er gogoniant yr Arglwydd. Esa. 23. 18. "Yna y bydd eu marchnad a'u helw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd." Zech. 14. 20, 21. Ac megys y bydd pobl Dduw y pryd hwnw yn enwog mewn sancteiddrwydd calon, byddant felly hefyd mewn sancteiddrwydd buchedd ac ymarweddiad.

(3.) Bydd crefydd yn *uwch* na dim arall yn y byd yn ystod yr amser hwn. Ceir hi mewn bri ac anrhydedd mawr. Yr oedd y saint hyd yn hyn, am y rhan fwyaf o'r amser, yn cael eu cadw danodd, a dynion drygionus yn llywodraethu; ond yn bresennol hwy fydd yn teyrnasu. Y freniniaeth a roddir i saint y *Duw Goruchaf*, (Dan. 7. 27;) a *hwy deyrnasant ar y ddaear*, (Dat. 5. 10;) hwy a gant fyw a *theyrnasu gyda Christ fil o flynyddoedd*. Dat. 20. 4. Yn y dydd hwnw, personau enwog am wir dduwioldeb a chrefydd a gyfodir i leoedd o ymddiried ac awdurdod. Bydd gwir grefydd y pryd hwnw yn meddiannu palasau a gorseddfeingciau breninoedd; a'r rhai yn y sefyllfäoedd uchaf fyddant ddynion sanctaidd. Esa. 49. 23. "Breninoedd hefyd fydd dy dadmaethod, a'u breninesau dy fammaethod." Bydd breninoedd yn defnyddio eu holl allu, eu dylanwad,

a'u golud i ddwyn yn mlaen anrhydedd a gogoniant Crist, a daioni ei eglwys. Esa. 60. 16. "Sugni hefyd laeth y cenedloedd, ïe, bronau breninoedd a sugni." Ac fe fydd gwyr mawrion y byd, a'r masnachwyr goludog, ac ereill o gyfoeth mawr a dylanwad, yn cyflwyno y cwbl i Grist a'i eglwys. Salm 45. 12. "Merch Tyrus hefyd fydd yno âg anrheg; a chyfoethogion y bobl a ymbiliant â'th wyneb."

(4.) Bydd y rhai hyn yn amseroedd o *heddwch a chariad mawr.* Y pryd hwnw fe fydd heddwch cyffredinol, a chenedloedd y byd yn iawn ddeall eu gilydd, a theimlad da yn ffynu yn eu mysg, yn lle anrhefn, rhyfel, a thywallt gwaed. Esa. 2. 4. "Ac efe a farna rhwng y cenedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer: a hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau a'u gwaywffyn yn bladuriau: ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach." Arddangosir yma fel pe byddai pob math o offerynau rhyfel yn cael eu dystrywio, megys pethau wedi dyfod yn ddifudd. Salm 46. 9. "Gwna i ryfeloedd beidio hyd eithaf y ddaear, efe a ddryllia y bŵa, ac a dyr y waywffon, efe a lysg y cerbydau â thân." Gwel hefyd Zech. 9. 10. Yna yr holl genedloedd a gydbreswyliant mewn tangnefedd a diogelwch, heb arswyd unrhyw elyn. Esa. 32. 18. "A'm pobl a drig mewn preswylfa heddychlawn, ac mewn anneddau dïogel, ac mewn gorphwysfäoedd llonydd." Hefyd Zech. 8. 10, 11. Yna y dilëir malais, a chenfigen, a digofaint, ac ymddïal, yn mhob man; a heddwch a chariad a ffynant rhwng y naill ddyn a'r llall; yr hyn a osodir allan yn y modd mwyaf ardderchog yn Esa. 11. 6—10. Yna y bydd tangnefedd a chariad rhwng llywodraethwyr a llywodraethedig. Bydd llywodraethwyr yn caru eu pobl, ac yn ymegnïo at eu daioni penaf; a'r bobl yn hoffi eu llywodraethwyr, gan ymostwng yn siriol iddynt, a rhoddi iddynt yr anrhydedd dyledus. Felly y bydd cariad a thangnefedd yn ffynu rhwng gweinidogion a'u pobl. Mal. 4. 6. "Ac efe a dry galon y tadau at y plant, a chalon y plant at y tadau." Yna y bydd i'r rhinweddau Cristionogol godidog hyny, maddeugarwch,

hir-ymaros, boneddigeiddrwydd, daioni, a thiriondeb brawdol, y rhai ydynt ffrwythau rhagorol yr Ysbryd, flodeuo yn ardderchog. Bydd dynion, o ran eu tymherau a'u tueddiadau, yn gyffelyb i Oen Duw, yr Iesu addfwyn. Bydd y corff yn cyfateb i'r Pen.

Yna yr unir yr holl fyd mewn un gymdeithas hawddgar. Bydd yr holl genedloedd, trwy holl barthau y byd, ac ar ddau du y ddaear, y pryd hwnw wedi eu cydwäu mewn cysondeb hyfryd. Bydd pob rhan o eglwys Dduw yn cyd-gynnorthwyo i ddwyn daioni ysbrydol eu gilydd yn mlaen. Cynnelir cyfryngiaeth i fyny y pryd hwnw rhwng gwahanol barthau y byd i'r dyben hwn; ac yna fe fydd i'r gelfyddyd o forwriaeth, o'r hon y gwneir cymaint o ddefnydd yn bresennol i gynnorthwyo cybydd-dod a balchder dynion, ac a arferir gymaint gan annuwiolion llygredig, gael ei chysegru i Dduw y pryd hwnw, a'i defnyddio i ddybenion sanctaidd. Gwel Esa. 60. 5—9. Ac yna y bydd amldra o gariad yn cael ei ddangos rhwng y naill ddyn a'r llall, nid yn unig mewn geiriau, ond mewn gweithredoedd hefyd. Esa. 32. 5. "Ni elwir mwy y coegddyn yn foneddig, ac ni ddywedir am y cybydd, Hael yw;" ond (adn. 8) "yr hael a ddychymyg haelioni; ac ar haelioni y saif efe."

(5.) Bydd yn amser o *drefn ragorol* yn eglwys Crist. Bydd iawn lywodraeth a dysgyblaeth yr eglwys y pryd hwnw yn sefydlog, ac yn cael eu gosod mewn arferiad. Bydd yr holl fyd y pryd hwnw megys un eglwys—un gymdeithas drefnus, rëolaidd a phrydferth. A chan mai un fydd y corff, felly bydd yr aelodau yn cyfateb yn brydferth i'w gilydd. Yna y gwirir Salm 122. 3. "Ierusalem a adeiladwyd fel dinas wedi ei chyd-gysylltu ynddi ei hun."

(6.) Bydd eglwys Dduw y pryd hwn yn *brydferth a gogoneddus;* ïe, hi a fydd yn berffeithrwydd tegwch. Esa. 60. 1. "Cyfod, llewyrcha; canys daeth dy oleuni, a chyfododd gogoniant yr Arglwydd arnat." Esa. 61. 10. "Canys gwisgodd fi â gwisgoedd iachawdwriaeth, gwisgodd fi â mantell cyfiawnder; megys y mae y priodfab yn ymwisgo

â harddwisg, ac fel yr ymdrwsia priod-ferch â'i thlysau." Ar y cyfrifon hyn, bydd yr eglwys y pryd hwnw yn ddarlun penaf o'r nefoedd ei hun.

(7.) Yr amser hwnw bydd y *llwyddiant tymhorol mwyaf.* Bydd y fath sefyllfa ysbrydol ag ydym newydd ddesgrifio, yn tueddu yn naturiol at iechyd a hir einioes: ac mai fel hyn yn union y bydd, sydd amlwg oddiwrth Zech. 8. 4. "Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; Hen wyr a hen wragedd a drigant eto yn heolydd Ierusalem, a phob gwr â'i ffon yn ei law o herwydd amlder dyddiau." Mae ynddi duedd hefyd i ennill esmwythder, llonyddwch, hyfrydwch, a sirioldeb meddwl, yn nghyda chyfoeth, a lluosogrwydd mawr o blant; fel y lled-arwyddir yn Zech. 8. 5. "A heolydd y ddinas a lenwir o fechgyn a genethod yn chwarae yn ei heolydd hi." Ond yn mhellach, caiff llwyddiant tymhorol pobl Dduw ei ddwyn rhagddo hefyd trwy fendith nodedig o'r nefoedd. Esa. 65. 21. "A hwy a adeiladant dai, ac a'u cyfanneddant; planant hefyd winllanoedd a bwytânt eu ffrwyth." Mica 4. 4. "Ond eisteddant bob un dan ei winwydden a than ei ffigysbren, heb neb i'w dychrynu." Zech. 8. 12. "Canys bydd yr had yn ffynadwy; y winwydden a rydd ei ffrwyth, a'r ddaear a rydd ei chynyrch, a'r nefoedd a roddant eu gwlith: a pharaf i weddill y bobl hyn feddiannu yr holl bethau hyn." Gwel hefyd Ier. 31. 12, 13; Amos 9. 13. Ië, hwy a dderbyniant y pryd hwnw arwyddion o bresennoldeb, cymeradwyaeth, ac ewyllys da Duw yn mhob modd. Ier. 33. 9. "A hyn fydd i mi yn enw llawenydd, yn glod ac yn ogoniant o flaen holl genedloedd y ddaear, y rhai a glywant yr holl ddaioni yr ydwyf fi yn ei wneuthur iddynt: a hwythau a ofnant ac a grynant am yr holl ddaioni a'r holl lwyddiant yr ydwyf fi yn ei wneuthur iddynt." Nid oedd llwyddiant tymhorol dyddiau Solomon ond cysgod mewn cydmariaeth i'r llwyddiant fydd yn ffynu y pryd hwnw.

(8.) Bydd hefyd yn *amser o orfoledd mawr.* Esa. 35. 10. "A gwaredigion yr Arglwydd a ddychwelant, ac a ddeuant

i Sïon â chaniadau, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen: goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffŷ ymaith." Pen. 55. 12. "Canys mewn llawenydd yr ewch allan, ac mewn hedd y'ch harweinir; y mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen." Pen. 66. 11. "Fel y sugnoch, ac y'ch diwaller â bronau ei dyddanwch hi; fel y godroch, ac y byddoch hyfryd gan helaethrwydd ei gogoniant hi." Pen. 12. 3. "Am hyny mewn llawenydd y tynwch ddwfr o ffynnonau iachawdwriaeth." Hwn fydd priodas-ddydd gogoneddus yr eglwys â Christ ar y ddaear. Dat. 19. 7. "Llawenychwn, a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant iddo ef: oblegyd daeth priodas yr Oen, a'i wraig ef a'i parotôdd ei hun." Adn. 9. "Bendigedig yw y rhai a elwir i swper neithior yr Oen."

(9.) Mae yr ysgrythyr yn arddangos yn mhob man y bydd y llwyddiant hwn o *hir-barhad.* Arddangosir mai byr fyddai yr hamddenau blaenorol o orphwysdra a ffyniant, fel y sylwasom yn barod; ond y mae y sefyllfa hon yn cael ei gosod allan yn hollol wahanol. Dat. 20. 4. "Ac mi a welais eneidiau y rhai y tőrwyd eu penau am dystiolaeth Iesu,—a hwy a fuant fyw, ac a deyrnasasant gyda Christ *fil o flynyddoedd.*" Esa. 60. 15. "Lle y buost yn wrthodedig ac yn gâs, ac heb gyniweirydd trwot, gwnaf di yn ardderchogrwydd tragywyddol, ac yn llawenydd i'r holl genedlaethau."

Gall hyn fod yn ddigonol am sefyllfa lwyddiannus yr eglwys yn ystod y rhan fwyaf o'r cyfnod sydd yn dechreu gyda dadymchweliad teyrnas weledig Satan ar y ddaear, ac yn diweddu yn nyfodiad Crist i'r farn gyda chymylau y nefoedd.

II. Deuaf yn bresennol i lefaru am y *gwrthgiliad mawr* a gymer le tua a diwedd y cyfnod hwn, ac fel y bydd i'r eglwys, am ychydig amser, gael ei bygwth gan ei gelynion; a hyn a wnaf dan dri phen.

1. Fe *syrth rhan fawr o'r byd* ymaith oddiwrth Grist a'i eglwys ychydig cyn diwedd y byd. Dywedir (Dat. 20. 3) y byddai i Satan gael ei fwrw i'r pydew heb waelod, a'i gau

i fyny, a selio arno yno, fel na thwyllai y cenedloedd mwyach *nes cyflawnu mil o flynyddoedd;* ac wedi hyny y byddai raid ei ollwng yn rhydd o'i garchar dros ychydig amser. Dywedir wedi hyny (adn. 7, 8) y bydd iddo, pan ddelo y mil blynyddoedd i fyny, gael ei ollwng yn rhydd o'i garchar, ac yr â allan i dwyllo y cenedloedd sydd yn mhedair congl y ddaear, sef Gog a Magog. Mae hyn yn gosod allan y bydd y gwrthgiliad yn gyffredinol iawn. Cenedloedd pedair congl y ddaear a dwyllir; ac fe fydd nifer y rhai a dröant yn awr yn elynion i Grist yn ddirfawr, fel y mae byddin Gog a Magog yn cael ei harddangos gan Ezeciel. Dywedir (Dat. 20. 8) eu bod fel tywod y môr o ran amldra; ac iddynt fyned "i fyny ar led yr holl ddaear," fel pe buasent yn fyddin digon lluosog i gyrhaedd o naill ochr y ddaear i'r llall.

Fel hyn, ar ol tymhor o hawddfyd gogoneddus, y fath hir-ddydd o oleuni a sancteiddrwydd, o gariad, a heddwch, a llawenydd, daw amser tywyll drachefn. Mae Satan yn dechreu gosod ei deyrnas i fyny drachefn yn y byd; ac fe ddaw y byd hwn eilwaith yn olygfa o dywyllwch a dryg-ioni. Agorir y pydew heb weulod, a chythreuliaid a ddeuant allan o hono, a mŵg dychrynllyd a esgyn i fyny o'i enau i dywyllu y byd. Ac fe fydd eglwys Crist, yn lle ymestyn hyd eithafoedd y ddaear, fel yr oedd o'r blaen, yn cael ei chyfyngu i derfynau culion. Dynolryw, wedi parhau cyhyd yn y fath sefyllfa dra ffynadwy, yn awr a ddechreuant gam-arfer eu llwyddiant i wasanaethu eu chwantau a'u llygredigaethau. Luc 17. 26, &c.

2. Y gwrthgilwyr hyn a wnant *wrthwynebiad mawr* i eglwys Dduw. Bygythir yr eglwys â dadymchweliad disymwth a hollol ganddynt. Dywedir i Satan eu casglu hwy yn nghyd i ryfel, fel y tywod ar lán y môr: a hwy a aethant i fyny ar led y ddaear, ac a amgylchasant wersyll y saint, a'r ddinas anwyl. Felly ymddengys y bydd y ddinas anwyl hon ar fin cael ei llyngcu i fyny ganddynt: ac nid ei bygwth yn unig y bydd ei gelynion, ond byddant wedi ymgasglu o ddifrif yn ei herbyn: ac nid felly yn unig,

ond byddant yn gwarchae arni ac yn ei hamgylchu o bob tu. Ond nid oes dim yn y brophwydoliaeth, sut bynag, yn arddangos i'r eglwys syrthio yn hollol i'w dwylaw, fel y darfu iddi syrthio i ddwylaw Anghrist, yr hwn y rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt. Ni oddef Duw byth i hyn gymeryd lle ar ol cwymp Anghrist; canys dydd ei galar a dderfydd y pryd hwnw, er iddi gael ei bygwth drachefn â dinystr hollol a disymwth yn y modd mwyaf arswydus.

3. Ymddengys fod agwedd bresennol pethau yn *galw yn uchel am ddyfodiad buan Crist i'r farn.* Canys fe fydd y byd y pryd hwn wedi ei lenwi â drygioni o'r mwyaf cyffröus. Bydd y rhan amlaf o lawer o'r byd wedi dyfod yn annuwiolion ysgeler, ac yn elynion cyhoeddus i Grist; ac fe fydd eu gwrthgiliad yn gwneyd eu drygioni yn gyffröus arswydus. Bydd y rhan fwyaf o'r byd yn llawn annuwiolion cyhoeddus yn flaenorol i gwymp Anghrist. Eithr ni fydd y rhai hyny ond Paganiaid tlodion heb erioed fwynhau goleuni yr efengyl; ac ereill a gawsant eu dwyn i fyny yn nhywyllwch Mahometaniaeth neu Babyddiaeth; ond y rhai hyn fyddant wrthgilwyr oddiwrth yr eglwys Gristionogol, sef teyrnas weledig Crist, yn yr hon y mwynhasant oleuni a breintiau ardderchog yr amseroedd gogoneddus, y rhai fyddant anghydmariaethol fwy na'r goleuni a'r breintiau a fwynhëir yn bresennol gan eglwys Dduw. Bydd y gwrthgiliad hwn yn debycach i wrthgiliad y cythreuliaid nac un a fu o'i flaen: canys fe wrthgiliodd y cythreuliaid a throisant yn elynion i Grist, er mwynhau o honynt oleuni y nefoedd; ac fe fydd y rhai hyn yn gwrthgilio oddiwrtho ef, ac yn troi yn elynion iddo, er mwynhau o honynt oleuni a breintiau amseroedd gogoneddus yr eglwys. Ac y mae fod y cyfryw rai yn troi yn elynion cyhoeddus a haerllug i Grist, ac yn ceisio dyfetha ei eglwys, yn galw yn uchel am ddïaledd diatreg, cyffelyb i'r hyn a oddiweddodd y cythreuliaid pan syrthiasant.

Bydd drygioni y byd yn galw yn waeddfawr am ym-

ddangosiad buan Crist gyda thân fflamllyd i roddi dïal arnynt, o herwydd y ffordd y bydd iddynt amlygu eu drygioni. Hyn fydd trwy watwar a chablu Crist a'i grefydd sanctaidd; ac yn neillduol, hwy a ddiystyrant y dŷb o ddyfodiad Crist i farn, am yr hyn y bydd yr eglwys yn dysgwyl, ac yn eu rhybuddio hwythau o hono. Canys y mae yn ddiamheuol mai y pryd hwnw yn benaf y cyflawnir 2 Pet. 3. 3, 4. "Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain, ac yn dywedyd, Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau, y mae pob peth yn parhau fel yr oeddynt o ddechreuad y grëadigaeth." Ni byddant hwy mewn un modd yn dysgwyl dyfodiad Crist, ond chwarddant at y meddylddrych. Sathrant bob peth o'r fath dan draed, gan ymroddi i ddilyn eu chwantau, i fwyta ac yfed, ac ymdroi mewn pleserau cnawdol, fel pe byddent i fod yma byth. Hwy a ddiystyrant y rhybuddion a rydd yr eglwys iddynt o ddyfodiad Crist i'r farn, fel yr oedd trigolion yr hen fyd yn dirmygu Noah pan hysbysodd iddynt am ddynesiad y dylif, neu bobl Sodom pan ddywedodd Lot wrthynt, "Yr Arglwydd a ddinystria y lle hwn." Bydd eu drygioni o herwydd hyn yn gwaeddi i'r nefoedd am ymddangosiad Crist gyda thân fflamllyd i ddïal ar ei elynion; ac o herwydd iddynt hefyd ddefnyddio eu drygioni i ddyben haerllug ac ymgyrch treisiol yn erbyn dinas sanctaidd Duw, yn yr hon y mae cymaint o grefydd Crist i'w gweled dros gyhyd o amser.

Peth arall ag sydd yn galw yn nodedig am ddyfodiad Crist yw rhifedi dirfawr yr annuwiolion; canys fe fydd y byd yn ddiamheuol yn llawn iawn o bobl, gan iddynt fod cyhyd mewn sefyllfa mór lwyddiannus, heb y fath anrheithiadau dychrynllyd a rhyfeloedd, heintiau, a'r cyffelyb, i'w lleihau. Ac fe fydd y rhan fwyaf o'r byd, yr hwn fydd mór boblog, yn wrthgilwyr drygionus a diystyrllyd oddiwrth Dduw. Fe fydd y byd yn ddiamheuol yn llawer llawnach o ddrygioni nac y buasai erioed cyn hyny er ei sylfaeniad.

Ac os galwodd drygioni yr hen fyd, pan ddechreuodd dynion amlhau ar y ddaear, am ddystryw y byd trwy ddylif *dwfr*, bydd y drygioni hwn yn galw cymaint am ei ddinystr trwy ddylif *tân*.

Drachefn, amgylchiadau yr eglwys fyddant hefyd yn galw am ymddangosiad dioed Crist y dydd hwnw, gan y bydd eu gelynion llofruddiol a chableddus, y rhai a fyddant bron yn barod i'w llwyr ddyfetha, wedi eu hamgylchu o bob tu. Bydd yn amser cyfyng iawn ar yr eglwys; oddyeithr y cysur a gant yn y gobaith am ymwared oddiwrth Dduw: canys fe fydd pob cynorthwy arall yn ymddangos yn rhy analluog. Bydd eu cyfyngdra wedi dyfod i'r eithaf, ac fe fydd yn anghenreidiol i Grist ddyfod yn ddioed i roddi ymwared iddynt. Ac er i'r eglwys gael eu bygwth mór nodedig, eto fe drefnir gan Ragluniaeth iddi gael ei diogelu hyd onid ymddangoso Crist yn ei bresennoldeb digyfrwng, gan ddyfod yn ngogoniant ei Dad, a'i holl angelion sanctaidd gydag ef. Yna y cydgesglir yr holl etholedigion. Y gwaith o *ddychwelyd*, yr hyn a ddygwyd yn mlaen trwy yr holl oesoedd o ddechreuad yr eglwys ar ol y cwymp, nid ydyw i gael ei ddwyn yn mlaen mwyach. Ni chaiff un enaid arall ei ddychwelyd. Pob un o'r miliynau dirif, enwau y rhai a ysgrifenwyd yn llyfr y bywyd er cyn sylfaenu y byd, a ddygir i mewn: ni chyfrgollir un enaid o honynt. Ac fe fydd corff cyfrinol Crist, yr hwn sydd wedi bod yn tyfu er ei ddechreuad cyntaf yn nyddiau Adda, yn awr yn gyflawn, a phob un o'i aelodau ganddo. Bydd gwaith y prynedigaeth gyda golwg ar hyn yn awr wedi ei orphen. Ac yn awr fe fydd dyben sefydliad moddion gras wedi ei gyrhaedd—pob effaith a fwriadwyd iddynt, yn awr a gyflawnir.

## PEN. IX.

### *Y Farn Gyffredinol.*

DANGOSAIS fel hyn pa fodd y cyflawnwyd llwyddiant prynedigaeth Crist tra parhäodd yr eglwys Gristionogol dan foddion gras. Yr ydym wedi gweled y chwyldröadau mawrion a fu, ac sydd i fod eto, yn ystod yr yspaid hwn o amser; fel yr aeth olwynion mawrion Rhagluniaeth oddiamgylch i ddwyn yn mlaen y math hwnw o lwyddiant prynedigaeth Crist ag sydd yn gynnwysedig yn nghyfraniad gras i'w bobl. Wrth ddyfod yn mlaen gyda 'n testun, daethom o'r diwedd at yr amser pan y mae yr holl olwynion wedi cyflawnu eu cylchdröadau; ac yn bresennol y mae gyrfa pethau wedi dirwyn i fyny, a phob peth yn barod erbyn dyfodiad Crist i'r farn.

Y mae llwyddiant prynedigaeth Crist o ddau fath, ac yn gynnwysedig naill ai mewn *gras* ai mewn *gogoniant.* Mae y blaenaf o'r ddau i'w ganfod yn ymddygiadau Duw tuag at yr eglwys tra y mae hi yn parhau dan foddion gras; ac fe fydd i'r olaf gael ei gyflawnu yn benaf yn nydd y farn. Gan fy mod wedi dangos yn barod pa fodd y cyflawnwyd y *blaenaf* o'r ddau fath hyn o lwyddiant, deuaf yn bresennol at yr *olaf*, sef y math hwnw o lwyddiant a gyflawnir pan goronir yr eglwys â *gogoniant* yn nydd y farn. Ac yn y fan yma sylwaf ar ddau neu dri o bethau yn *gyffredinol* ag sydd yn dwyn perthynas â'r math hwn o lwyddiant prynedigaeth Crist.

1. Yn hyn yn benaf y mae *mawredd* llwyddiant prynedigaeth Crist yn ymddangos: cynnwysa gyflawn *iachawdwriaeth* ei bobl. Ac y mae y *gogoneddiad* yn nodedig yn cael ei alw *eu hiachawdwriaeth.* Heb. 9. 28. "A ymddengys yr ail waith, heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth." Mae yn cael ei alw hefyd yn *brynedigaeth*, gan mai yn hyn yn nodedig y mae prynedigaeth yr

eglwys yn gynnwysedig. Eph. 4. 30. "Seliwyd hyd ddydd prynedigaeth;" a Luc 21. 28, Eph. 1. 14, "Hyd bryniad y y pwrcas."

2. Gwneyd ffordd i ddwyn yn mlaen y llwyddiant sydd i gael ei gwblhau yn y gogoneddiad hwn, oedd unig ddyben pob peth blaenorol, tra yr oedd yr eglwys yn aros dan foddion gras. Y mae *moddion* gras, a gras Duw ei hun, yn cael eu rhoddi i'r etholedigion i'w cymhwyso i ogoniant.

3. Nid oedd yr holl bethau gogoneddus a gyflawnwyd i'r eglwys, tra yr ydoedd dan foddion gras, ond cynlluniau a chysgodau o hyn. Felly yr oedd y pethau ardderchog a gyflawnwyd i'r eglwys yn nyddiau Cystenyn; ac felly y bydd yr holl ogoniant sydd i ganlyn cwymp Anghrist. Pa mór fawr bynag ydynt, nid yw y cwbl ond cysgodau yn unig o'r hyn a gyfrenir yn nydd y farn. Ond prysuraf i ddangos yn fwy neillduol pa fodd y bydd i'r math yma o lwyddiant gael ei gyflawnu.

1. *Ymddengys Crist yn ngogoniant ei Dad*, a'i holl angelion sanctaidd gydag ef; efe a ddaw gyda chymylau y nefoedd. Pan fyddo y byd yn wtresa yn eu drygioni, ac yn amgylchu y ddinas sanctaidd, yn barod i'w dinystrio hi; dyma y pryd y gwna y Prynwr gogoneddus ei ymddangosiad. Efe, trwy yr hwn yr oedd y prynedigaeth yma yn cael ei ddwyn yn mlaen o hyd, a ymddengys yn ngolwg y byd: llewyrch ei ogoniant a dŷr allan; yr holl fyd a rybuddir yn ddioed o'i ddyfodiad, a hwy a ddyrchafant eu llygaid ac a welant yr olygfa ryfeddol. *Pob llygaid a'i gwel ef.* Dat. 1. 7. Ceir gweled Crist yn dyfod yn ei natur ddynol, yn yr un corff (yn awr wedi ei ogoneddu) ag a anwyd yn yr ystabl, ac a ddodwyd yn y preseb, a'r hwn a driniwyd mór greulon wedi hyny, ac a hoeliwyd wrth y groes.

Dyrchafa dynion eu llygaid, a gwelant ef yn dyfod gyda'r fath fawredd a gogoniant ag sydd hollol annirnadwy i ni yn bresennol. Nid yw gogoniant yr haul yn yr wybren glir ond tywyllwch mewn cydmariaeth iddo. Bydd yr holl

angelion a'r arch-angelion gogoneddus yn ei ganlyn ef; mil filoedd a'i gwasanaethant ef, a myrdd fyrddiwn a safant ger ei fron. Mór wahanol fydd ei ymddangosiad y pryd hwn i'r hyn oedd yn ei ddyfodiad cyntaf, pan yr ydoedd fel gwreiddyn o dir sych, yn ddyn tlawd, dirmygedig a chystuddiol! Mór wahanol fydd ei ymddangosiad y pryd hwn, yn nghanol yr angelion sanctaidd, tywysogaethau ac awdurdodau y nefolion leoedd yn gweini iddo, oddiwrth yr hyn ydoedd yn nghanol llu o filwyr, a'r wawdwisg am dano a'r goron ddrain ar ei ben, yn cael ei wawdio a phoeri arno, neu yn crogi ar y groes rhwng dau leidr, a lluaws ei elynion yn buddugoliaethu arno!

Golygfa annysgwyliadwy iawn i'r byd annuwiol fydd hon: daw arnynt fel gwaedd canol nos: hwy a ddelir yn nghanol eu drygioni, ac a ddychrynir yn ddirfawr. Fe dŷr hyn eu gloddest ar unwaith—eu bwyta, a'u hyfed, a'u cyfeddach. Rhydd derfyn buan ar fwriad y fyddin fawr fydd y pryd hwnw yn amgylchu gwersyll y saint. Pâr iddynt ollwng eu hofferynau dinystr o'u dwylaw. Y byd, yr hwn fydd y pryd hyny yn llawn o bobl, a'r rhan fwyaf o honynt yn annuwiolion, a lenwir â chrochleisiau dolefus ac wylofain; canys holl lwythau y ddaear a alarant o'i blegyd ef. Dat. 1. 7. A pha le yr ymguddiant? O fel y bydd i'r olwg ar y mawredd ofnadwy hwnw eu dychrynu hwy yn nghanol eu drygioni! Yna y gwelant pwy ydyw ef; y fath berson yw yr hwn a wawdiwyd ac a ddirmygwyd ganddynt, ac eglwys pwy ydyw yr hon y buont yn ymdrechu i'w dadymchwelyd. Try yr olygfa hon lais eu chwerthin a'u canu, tra y maent yn priodi ac yn rho'i i briodas, a sŵn eu gwatwargerdd, yn oernadu erchyll, uffernol. Newidir eu gwêdd o fod yn arddangosiad o lawenydd anianol, trahausfalch, a dirmygus o bobl Dduw; a dychryn a syndod aethus, cryndod a rhingcian dannedd, a syrth arnynt yn ei le.

Ond gyda golwg ar y saint, bydd iddynt hwy yn olygfa orfoleddus a mwyaf dymunol; canys rhydd ymwared iddynt rhag pob ofn oddiwrth eu gelynion, y rhai cyn hyny oedd-

ynt yn eu hamgylchu, ac yn barod i'w llyngcu i fyny. Hwy a waredir o'u cyfyngder; ymddengys eu Cadben gogoneddus drostynt ar amser pan nad oedd un cynorthwy arall ganddynt mewn golwg. Yna hwy a godant eu penau, canys y mae eu hymwared yn agosâu. Luc 21. 28. Ymddengys Crist mewn mawredd anfeidrol, eto byddant hwy yn canfod cariad anfeidrol yn ei wêdd. Ac fe fydd gweled eu Gwaredwr yn dyfod fel hyn gyda chymylau y nefoedd, yn llenwi eu calonau â llawenydd. Newidir eu gwêdd hwythau hefyd, ond nid fel gwêdd yr annuwiolion, eithr o dristwch i lawenydd a gorfoledd dirfawr. Ac yn awr gorphenir gwaith y prynedigaeth mewn ystyr arall: bydd yr holl eglwys yn cael ei gwneyd yn gyflawn, a'i rhyddhau yn dragywyddol rhag erlidigaeth ac aflonyddwch oddiwrth annuwiolion a chythreuliaid.

II. Yr *udgorn diweddaf a gân, a'r meirw a gyfodir*, a'r rhai byw a newidir. Anfonodd Duw ei angelion gyda mawr sain udgorn, i gasglu y saint yn nghyd o bedair congl y ddaear, mewn ystyr cyfrinol, cyn dinystr Ierusalem; hyny yw, efe a anfonodd allan yr apostolion ac ereill i bregethu yr efengyl drwy yr holl fyd. Ac felly, mewn ystyr cyfrinol, y seiniwyd yr udgorn mawr ar ddechreu amseroedd gogoneddus yr eglwys. Ond udgenir yr udgorn mawr mewn ystyr mwy llythyrenol yn awr, seinir ef mór nerthol nes crynu y ddaear. Rhoddir arwydd trwy floedd hyglyw, yr hyn a elwir yn *llef yr Archangel*. 1 Thes. 4. 16. "Oblegyd yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r nef gyda bloedd a llef yr archangel, ac âg udgorn Duw." Pan seinir yr udgorn mawr, daw y meirw i fyny o bob man. Mae rhifedi y meirw erbyn hyn yn ddirfawr. Cymaint a dórwyd i lawr gan angau er pan y mae y byd yn sefyll! Ond erbyn hyn bydd eu nifer yn llawer mwy; bydd y byd wedi sefyll yn hwy, a diamheu y bydd, am yr amser sydd yn ngweddill iddo, yn llawer lluosocach ei drigolion nac y bu erioed o'r blaen. Yr holl rai hyn y pryd hyny a adgyfodir o feirw. Y bedd-

au a agorant yn mhob rhan o'r byd, a'r môr a rydd i fyny y meirw aneirif sydd ynddo. Dat. 20. 13.

Ac yn awr yr holl drigolion a fuont erioed ar wyneb y ddaear a ymddangosant ar unwaith. Pawb oeddynt o eglwys Dduw trwy yr holl oesoedd: Adda ac Efa, rhïaint cyntaf dynolryw; Abel, a Seth, a Methuselah, a'r holl saint oeddynt yn cydoesi â hwy; Noah ac Abraham, Isaac a Iacob; prophwydi Israel, ac apostolion Iesu Grist, a holl saint eu hamseroedd hwy; a'r holl ferthyron sanctaidd a syrthiasant dan erlidigaethau creulon. Ceir gweled yno bawb a berthynent i'r eglwys tra yr ydoedd yn yr anialwch yn ystod amseroedd tywyll Anghrist, a phawb a ddyoddefasant dan ei greulonderau erlidigaethus ef, yn nghyda'r holl saint ereill a fu ac a fydd hyd ddiwedd y byd. Yn awr hefyd yr ail ymddengys holl elynion yr eglwys yn mhob oes; yr holl Baganiaid, ac Iuddewon, a Mahometaniaid, a Phabyddion drygionus: pechaduriaid o bob math; rhagrithwyr Phariseaidd, dyhirwyr anllad, gau-gredinwyr, anffyddwyr, a'r holl erlidwyr creulon—pawb a fu ac a fydd farw mewn pechod, a ddeuant yn nghyd.

Ar yr un pryd ag yr adgyfodir y meirw, y newidir y rhai byw. Newidir cyrff yr annuwiolion, fyddant byw y pryd hwnw, a chymhwysir hwy i ddyoddef poenedigaeth dragywyddol; a chyrff y saint, a fyddant byw, a newidir i fod yn gyffelyb i gorff gogoneddus Crist. 1 Cor. 15. 51—53. Caiff cyrff yr holl saint eu newid i fod yn annarostyngedig i boen, cystudd, ac anesmwythder i dragywyddoldeb; a'r holl hurtrwydd a'r trymder, a'r holl hagrwch yr oedd eu cyrff yn ddarostyngedig iddo gynt, a dynir ymaith; a hwy a wisgir â nerth a harddwch, a gogoniant anllygredig ac anniflanedig.

Ac yn awr fe fydd gwaith y prynedigaeth wedi ei orphen mewn ystyr arall: bydd holl bobl Dduw y pryd hwn wedi eu cwbl-brynu, gorff ac enaid. Nid oedd gwaith y prynedigaeth, o ran cyfanrwydd ei lwyddiant, ond anorphenol o'r blaen; canys nid oedd ond *eneidiau* y prynedigion yn unig wedi

eu cyflawn waredu, oddyeithr mewn ychydig o enghraifftiau: ond yn awr holl *gyrff* y saint a waredir ac a gyd-ogoneddir; cant oll eu gogoneddu yn ddynion perffaith, y corff a'r enaid mewn undeb â'u gilydd.

III. Yn awr *y cipir yr holl saint i fyny i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr, a'r holl annuwiolion a'r cythreuliaid a ddygir ger bron y frawdle.* Pan yr adgyfodir cyrff y saint, yna yr holl eglwys, yn gynnwysedig o bobl Dduw trwy yr holl oesoedd, a gydsafant ar y ddaear, oddyeithr o leiaf yr ychydig gyrff a ogoneddwyd yn flaenorol; ac yna hwy a esgynant i fyny megys ar adenydd i gyfarfod Crist, yr hwn a esyd ei orseddfaingc yn yr awyr, fel y byddo yn weledig i'r holl dyrfa fawr a gydgesglir ger ei fron. Yna yr esgyn y saint i fyny at eu Gwaredwr. Fel hyn y mae yr apostol yn hysbysu i ni: wedi cyfodi y meirw yn Nghrist, a newid y rhai byw, yna y rhai a adawyd a gipir i fyny gyda'r lleill i gyfarfod a'r Arglwydd yn yr awyr; ac felly byddwn yn wastadol gyda'r Arglwydd. 1 Thes. 4. 16, 17. Y fath olygfa ryfeddol fydd hon, miliynau o saint yn esgyn i fyny o bob parth o'r byd!

Yna y bydd gwaith y prynedigaeth wedi ei orphen mewn ystyr arall: y pryd hwn y caiff yr holl eglwys waredigaeth hollol o'r byd drygionus yma am byth; cant ymadael â'r ddaear am dragywyddoldeb—y ddaear lle buont yn ddyeithriaid, a'r hon fu iddynt, am y rhan fwyaf o'r amser, yn olygfa o drallod a thristwch; lle bu y diafol yn teyrnasu megys duw, gan eu blino yn ddirfawr: a'r hon a fuasai yn gyfryw ddrych o annuwioldeb a ffieidd-dra; lle y croeshoeliwyd Crist eu Harglwydd; a'r lle y cawsent hwythau eu casâu, eu dirmygu a'u herlid mór ddiarbed. Gadawant hi i osod troed arni byth ond hyny. Didolir hwy oddiwrth yr annuwiolion am dragywyddoldeb. Yr oeddynt blith-draphlith â hwynt o'r blaen, ac yr oedd yn annichonadwy mewn llawer amgylchiad penderfynu eu nodweddiad, ond yn awr deuant oll i'r goleu: ymddengys saint a phechaduriaid yn eu gwir gymeriadau a'u hagweddau eu hunain.

Yna y gwelir yr holl eglwys yn dyfod o'r dwyrain a'r gorllewin, o'r gogledd a'r dehau, a hwy a esgynant ar ddeheulaw Crist. Y fath gwmwl dirfawr fydd o honynt: pawb a fuasai erioed o'r wir eglwys: cymaint a fu cyn dyfodiad Crist yn y cnawd; holl luaws saint dyddiau yr apostolion; y cyfan a fu yn amser Cystenyn Fawr; y cwbl a fu cyn ac wedi y Diwygiad; a'r holl dorfeydd lluosog o saint a fydd yn amseroedd gogoneddus yr eglwys, pan fyddo yr holl ddaear am gynifer o genedlaethau yn llawn o saint; ac hefyd y cwbl fyddant byw ar ddyfodiad Crist: ceir gweled y rhai hyn oll yn cydymgynnull yn y cymylau ar ei ddeheulaw!

Gorphenir gwaith y prynedigaeth yn awr mewn ystyr arall: bydd yr holl eglwys wedi ei chasglu at ei gilydd. Yr oeddynt oll yn perthyn i'r un gymdeithas o'r blaen, ond eto yr oedd pellder yn eu gwahanu oddiwrth eu gilydd. Yr oedd rhai o honynt yn y nefoedd, a rhai ar y ddaear; ac yr oedd llawer o'r rhai oeddynt ar y ddaear yn cael eu didoli naill oddiwrth y llall gan foroedd llydain a chyfandiroedd ëaing. Ond yn awr hwy a gydgesglir, ac nis gwahenir hwy byth mwyach. Ac nid yn unig fe fydd holl aelodau yr eglwys yn cael eu casglu yn nghyd y pryd hwn, ond cesglir hwy oll at eu Pen, i'w bresennoldeb digyfrwng a gogoneddus ef, ac ni ddidolir hwy oddiwrtho ef byth ond hyny.

Yn y cyfamser yr holl annuwiolion a'r cythreuliaid a ddygir o flaen brawdle Crist. Gesyd y rhai hyn ar ei law aswy, ac, fel yr ymddengys, ni fydd iddynt hwy gael eu cymeryd i fyny i'r awyr fel y saint, ond gadewir hwy ar y ddaear. Caiff y diafol, yr hen sarph, yn awr ei lusgo i fyny o uffern. Ni chaiff ef, yr hwn oedd yr achos cyntaf o gwymp a thrueni dynolryw, a'r hwn a ymosododd yn erbyn eu prynedigaeth mor egnïol, ac a ddangosodd ei hun bob amser yn gyfryw elyn anghymodadwy i'r Gwaredwr, ddim i'w wneuthur byth ond hyny âg eglwys Dduw, ac ni oddefir iddo yn y mesur lleiaf gystuddio nac aflonyddu un aelod o

honi i dragywyddoldeb. Yn lle hyny, rhaid iddo yn awr gymeryd ei farnu, a derbyn y wobr sydd ddyledus iddo am ei weithredoedd. Mae yr amser y bu yn ofni ac yn crynu cymaint wrth feddwl am dano yn bresennol wedi ei oddiweddyd; yr amser y rhaid iddo gymeryd ei farnu, a derbyn ei gyflawn gospedigaeth. Efe, yr hwn, trwy ei demtasiwn faleisus, a lwyddodd i groeshoelio Crist, gan orfoleddu fel pe buasai wedi ennill y fuddugoliaeth, ïe *efe* a gaiff weled canlyniadau yr angau hwnw y bu yn achos o hono. Rhaid iddo sefyll yn awr o flaen yr un Iesu, a chymeryd ei farnu a'i ddedfrydu, a'i ddinystrio ganddo ef. Os ydyw Satan, y tywysog uffernol, yn crynu wrth feddwl am hyn filoedd o flynyddoedd yn mlaen llaw, pa faint mwy fydd ei ddychryn, er mór falch a chyndyn ydyw, pan ddygir ef o flaen brawdle Crist!

Yna y caiff ei ddwyn ger bron gorsedd y saint, y rhai a gasäwyd, ac a gystuddiwyd gymaint ganddo: canys fe fydd y saint yn gyd-farnwyr â Christ. 1 Cor. 6. 3. "Oni wyddoch chwi y bernwn ni angelion?" Caiff ei ddarostwng yn awr megys dan draed yr eglwys. Rhuf. 16. 20. Pan yr hudodd Satan ein rhïeni cyntaf, dywedodd wrthynt hwy yn dwyllodrus a chelwyddog y byddent megys duwiau; ond ychydig a feddyliodd yn wir y byddent byth mór agos i fod *megys duwiau* ag y byddai iddynt fod yn gyd-gynghorwyr â Duw yn ei farnedigaeth ef: ond llawer llai y meddyliodd y byddai i un o'r *natur* a dwyllwyd ganddo ef, un o hiliogaeth yr unig *bersonau* a dwyllodd, ymuno yn wirioneddol â Duw; y byddai iddo fel Duw farnu y byd, ac y buasai raid iddo yntau ei hun sefyll yn grynedig ac yn llawn dychryn o flaen ei orseddfaingc ef. Ond fe fydd yr holl gythreuliaid sydd yn uffern, y rhai a wrthwynebasant deyrnas Crist mór egnïol, yn gorfod sefyll fel hyn yn y diwedd, yn frawychus a chrynedig, o flaen Crist a'i eglwys, i dderbyn eu collfarnedigaeth.

Yn awr hefyd y dygir holl elynion ereill Crist i ymddangos o'i flaen ef. Rhaid i'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid beilchion, y rhai a gasasant Grist mór faleisus tra yr

ydoedd yn ei sefyllfa ddarostyngol, ddyfod i'w wyddfod ef yn awr. Y rhai y safodd Crist unwaith o flaen eu gorseddfaingc fel drwg weithredwr—a'r rhai a'i gwatwarasant, a'i gwawdiasant, ac a boerasant yn ei wyneb—a gant weled Crist yn ei ogoniant mawreddus, megys y rhagrybuddiwyd hwy. Mat. 26. 64, 65. Yr oedd *Crist* o flaen eu gorseddfaingc *hwy* y pryd hwnw; ond yn awr daeth eu tro *hwythau* i sefyll o flaen ei orseddfaingc *ef*, yn llawn dychryn a braw annirnadwy—eu gwynebau yn gwelwi, eu haelodau yn crynu, a'u gliniau yn curo yn nghyd.

Rhaid i holl elynion ac erlidwyr creulon yr eglwys yn mhob oes gyd-ymddangos yn awr. Rhaid i Pharaoh a'r Aifftiaid, Antiochus Epiphanes, yr holl ysgrifenyddion a'r Phariseaid maleisddrwg, yr ymherawdwyr Paganaidd erlidigaethus, Iulian y Gwrthgiliwr, yr holl Babau a Phabyddion creulon a llidiog, a Gog a Magog, gyd-ymddangos ar unwaith o flaen gorsedd farnol Crist. Rhaid iddynt hwy, a'r holl saint a erlidiwyd ganddynt yn mhob oes, ymddangos yn awr wyneb yn wyneb o flaen y Barnwr mawr. Ac yn bresennol caiff y saint, oddiar orseddfeydd gogoneddus, eu gwneyd yn farnwyr ar y breninoedd a'r llywodraethwyr anghyfiawn fu yn eu barnu a'u condemnio hwy, gan eu rhoddi i farwolaeth greulon. Yr erlidwyr hyny a gant y pryd hwn weled y gogoniant y darfu i'r rhai a gasäwyd ac a driniwyd mór greulon ganddynt hwy gynt gyrhaedd iddo. Bydd agwedd pethau fel hyn wedi cyfnewid yn rhyfedd; byddant yn awr yn dechreu dyfod i'w lle.

IV. *Caiff cyfiawnder yr eglwys ei amlygu, a drygioni y byd ei ddwyn i'r goleuni.* Y saint a fuont yn wrthddrychau casineb, gwaradwydd a dirmyg yn y byd, a ddifenwyd ac a gollfarnwyd gan eu herlidwyr yn ddiachos, a gant yn awr eu hamddiffyn. Hwy a gant ymddangos y pryd hwn wedi eu gwisgo yn ogoneddus â chyfiawnder Crist. Amlygir yn eglur ger bron y byd bod cyfiawnder Crist yn perthyn iddynt hwy, a hwy a ymddysgleiriant yn ogoneddus ynddo. Caiff eu sancteiddrwydd cynenid ei wneyd yn amlwg y pryd hyny,

a'u holl weithredoedd da a ddygir i'r goleuni. Y pethau daionus a wnaethpwyd ganddynt yn y dirgel a gant eu hamlygu yn awr yn gyhoeddus. Caiff cyfiawnion Duw, y rhai a driniwyd fel budreddi a gwehilion y ddaear, fel pe na buasent gymhwys i fyw, ac yn waeth nac anifeiliaid na chythreuliaid, ymddangos y pryd hwn yn rhai rhagorol y ddaear. Duw a ddwg allan eu cyfiawnder fel goleuni, a'u barn fel canol dydd. Ac yn awr fe ddangosir pwy oedd y dynion *gwir* ddrygionus ac anghymhwys i fyw; pan fydd holl ddrygioni gelynion Crist a'i eglwys—eu balchder, eu malais, eu creulondeb, a'u casineb i wir grefydd—yn cael eu gosod allan yn eu holl atgasrwydd, ac yn eu lliwiau priodol eu hunain.

Yna y cyfiawnion, y rhai ni chaent wrandawiad o flaen y barnwyr anghyfiawn hyny gynt, a gant eu gwrandaw yn awr ger bron yr Ynad mawr. Cant yn bresennol ddadleu eu hachos, a chodi i fyny mewn barn yn erbyn eu herlidwyr, a dadgan pa fodd y cawsant eu trin ganddynt. Ac yn awr fe fydd holl ddrygioni y rhai drygionus yn cael ei ddwyn i'r goleuni, hyd yn nod eu drygioni *dirgel*, a'u calonau a wneir yn amlwg, o flaen dysgleirdeb y dydd mawr hwnw. Caiff y pethau a lefarwyd yn y glust, yn yr ystafell, ac a wnaed yn y tywyllwch, eu dwyn i oleuni, a'u cyhoeddi ger bron angelion a dynion.

V. *Cyhoeddir y ddedfryd ar y cyfiawn a'r drygionus.* Cyhoedda Crist, yr Ynad gogoneddus, y ddedfryd fendigedig yma ar ei eglwys, yr hon fydd ar ei ddeheulaw: *Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotöwyd i chwi er seiliad y byd.* Bydd y ddedfryd hon yn cael ei chyhoeddi gyda rhyw gariad anfeidrol, a'r llais a bâr i bob calon lamu o lawenydd. Fel hyn y bydd Crist yn cyhoeddi dedfryd o gyfiawnhad ar filiynau, y rhai yn flaenorol a gawsant eu dedfrydu i gollfarnedigaeth gan eu herlidwyr. Fel hyn y bydd iddo osod anrhydedd ar rai a gyfrifid gynt yn ddirmygedig; efe a'u haddefa hwynt yn eiddo iddo, ac a rydd goron y gogoniant ar eu penau o flaen

y byd: ac yna hwy a ddysgleiriant fel yr haul gyda Christ mewn gogoniant a llawenydd, yn ngolwg eu holl elynion.

Yna y cyhoeddir dedfryd o gollfarniad ar y rhai drygionus: "*Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotöwyd i ddiafol ac i'w angelion.* Bydd gelynion yr eglwys fel hyn yn cael eu collfarnu; yn yr hon ddedfryd o gollfarniad y bydd y merthyron sanctaidd, y rhai a ddyoddefasant oddiwrthynt, yn cydsynio. Pan gyhoeddir y ddedfryd hon, tarewir pob calon ar y llaw aswy â braw a dychryn annirnadwy. Bydd pob sillaf o honi yn fwy aethus iddynt na ffrydlif o fellt yn myned trwy eu calonau. Y fath grochleisio arswydus, crynu, rhingcian dannedd, hyll-ystumiau gwynebpryd, golygon, ymddygiadau, a lleisiau atgas, a welir ac a glywir trwy yr holl dyrfa fawr!

VI. Wedi hyny Crist a'i holl saint, a'r holl angelion sanctaidd yn gweini iddynt, a ymadawant â'r byd isod hwn, gan esgyn tua nefoedd y gogoniant. Bydd gogoniant Crist gymaint yn ei esgyniad, ac, ar ryw olygiadau, yn fwy, nac ydoedd yn ei ddisgyniad: canys efe a esgyn a'i eglwys etholedig gydag ef, wedi eu gogoneddu gorff ac enaid. Yr oedd esgyniad cyntaf Crist i'r nefoedd, yn fuan wedi ei adgyfodiad, yn hynod o ogoneddus. Ond bydd ei ail esgyniad, gyda'i gorff cyfrinol, sef ei holl eglwys, yn llawer gogoneddusach. Bydd yr holl eglwys waredigol yn esgyn gydag ef yn y modd mwyaf gorfoleddus a buddugoliaethus: a'u holl elynion a'u herlidwyr, y rhai a adewir yn ol i'w dyfetha, a gant weled yr olygfa a chlywed eu caniadau. Ac fel hyn yr ymâd yr eglwys â'r ddaear felldigawl hon am dragywyddoldeb, gan fyned i mewn i nefoedd y gogoniant, paradwys Duw, y deyrnas a barotowyd iddynt er seiliad y byd.

VII. Wedi iddynt hwy ymadael, *y byd hwn a osodir ar dân*, ac a droir yn un ffwrn anferth, yn yr hon y poenir gelynion Crist a'i eglwys yn oes oesoedd. 2 Petr 3. 7. "Eithr y nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon, ydynt trwy yr un gair wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a

dystryw yr anwir ddynion." Y fath fraw a oddiwes yr annuwiolion, pan fyddo y tân yn dechreu ymafael ynddynt, a hwythau yn methu canfod un llwybr i'w ysgoi! Y fath ubain ac oernadu fydd yn mhlith y miliynau dirif, wrth ddechreu eu tymhor yn y ffwrn ddirfawr hon, pan fyddo yr holl fyd yn un eirias o'r tân poethaf a mwyaf difäol! cán gymaint felly fel y dywed yr apostol Petr, (2 Petr 3. 10—12,) "y nefoedd a ânt heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith fyddo ynddi a losgir; a'r nefoedd gan losgi a ymollyngant, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant." Bydd y gwres mór angherddol, fel y llysg y ddaear i'w chanol-bwynt: yr hyn ymddengys a feddylir yn Deut. 32. 22. "Canys tân a gyneuwyd yn fy nig, ac a lysg hyd uffern isod, ac a ddifa y tir a'i gynnyrch, ac a wna i sylfeini y mynyddoedd ffaglu."

Ac yma, yn y tân tragywyddol, y llosgir holl elynion eglwys Dduw, y rhai gynt a losgasant y saint wrth ystangciau; a bydd y poenau a ddyoddefant tu hwnt i bobpeth a fedrent hwy trwy eu cyfrwysdra a'u malais ddyfeisio i boenydio y saint. Ac yma y caiff cyrff yr holl annuwiolion eu llosgi, a'u poeni i dragywyddoldeb, heb ddifodoli byth; a digofaint a dywelltir ar eu heneidiau. Er fod eneidiau yr annuwiolion yn dyoddef cospedigaeth aethus yn bresennol yn uffern, eto fe ychwanegir eu cosp gymaint yn nydd y farn, fel nad yw yr hyn a ddyoddefir ganddynt yn flaenorol, mewn cydmariaeth, ond megys carchariad i'r dienyddiad sydd i'w ganlyn. A'r pryd hwn y diafol, yr hen sarph, a gaiff dderbyn ei gyflawn gospedigaeth; yr hyn y bu yn ofni ac yn crynu rhagddo gynt, a ddaw arno yrwan yn gyflawn. Caiff y byd, yr hwn a arferasai gynt megys gorsafle ei deyrnas, lle y buasai yn gosod ei hun i fyny fel duw, fod yn awr yn lle i'w gyflawn gospi, ac yn fangre boenydiol iddo yn oes oesoedd. Ac fel hyn, un o ddybenion gwaith y prynedigaeth, sef gosod gelynion Crist dan ei draed, a berffaith gyflawnir. Gwneir ei elynion y pryd hwn yn droedfaingc i'w draed yn yr ystyr helaethaf. Yn bresennol y bydd i'r bygythiad yn

Gen. 3. 15, "Efe a ysiga dy ben di," gael ei gwblhau yn berffaith.

VIII. Yn y cyfamser, *yr holl eglwys a ânt gyda Christ, eu Harglwydd gogoneddus, i nefoedd y gogoniant*, ac yno y cant ddechreu sefyllfa wynfydedig a gogoneddus dros dragywyddoldeb. Pan fyddo y byd isod, yr hwn a adawsant hwy odditanynt yn cael ei oddiweddyd gan dân dīaleddol Duw, a'r fflamau yn cael eu cyneu arno, a'r annuwiolion yn myned i mewn i'r tân tragywyddol, bydd yr holl eglwys yn cymeryd ei mynedfa gyda Christ, eu Pen gogoneddus, a'r holl angelion sanctaidd yn eu canlyn, yn osgordd ardderchog, i dragywyddol baradwys Duw, palas yr Iehofah mawr, eu Tad nefol. Egyr y pyrth yn llydain iddynt ddyfod i mewn, ac yna y dygir hwy gan Grist i'w barlorau yn yr ystyr helaethaf. Yma y bydd i Grist eu dwyn hwy a'u cyflwyno mewn gogoniant i'w Dad, gan ddywedyd, *Wele fi, a'r plant a roddaist i mi;* fel pe dywedai, Wele fi, gyda phob un a roddaist i mi o dragywyddoldeb i ofalu am eu prynedigaeth a'u gogoneddiad, i brynu pa rai y gwnaethum ac y dyoddefais gymaint; ac i barotoi y ffordd i brynu pa rai y dygais oddiamgylch y fath gyfnewidiadau mawrion am gynifer o oesoedd. Dyma hwy wedi eu perffaith waredu gorff ac enaid; gwaredais hwy rhag holl ddrwg-effeithiau y cwymp, a rhyddhëais hwy oddiwrth eu holl elynion: cesglais hwy oll yn nghyd yn un gymdeithas ogoneddus, ac unais hwy oll ynof fy hun: cyfiawnhëais hwy yn gyhoeddus ger bron angelion a dynion, a dygais hwy oll o'r byd melldigedig lle y dyoddefasant gymaint, a gosodais hwy oll o flaen dy orseddfainge di: gwnaethum bob peth erddynt a osodaist i mi i'w wneuthur: glanhëis hwy yn llwyr-ddwys yn fy ngwaed; a dyma hwy yn berffaith sanctaidd, yn ymddysgleirio yn dy ddelw berffaith di. Ac yna y cant eu derbyn gan y Tad, yr hwn a'u haddefa hwy oll yn blant iddo, gan eu croesawu i etifeddiaeth a gogoniant tragywyddol a pherffaith ei dŷ; ac fe fydd iddo ar yr achlysur yma roddi amlygrwydd mwy o'i gariad nac erioed o'r blaen, a chaniatau

iddynt fwynhad mwy perffaith a chyflawn o hono ei hun.

Yn awr y bydd priodas yr Oen yn yr ystyr berffeithiaf. Y mae dechreuad amseroedd gogoneddus yr eglwys ar y ddaear, ar ol cwymp Anghrist, yn cael eu gosod allan fel priodas yr Oen; ond yr ydym yn darllen wedi hyn am briodas arall o eiddo yr Oen ar ddiwedd dydd y farn. Mae y dysgybl anwyl, wrth roddi hanes dydd y farn, yn hysbysu iddo weled y ddinas sanctaidd, y Ierusalem newydd, wedi ymbarotoi fel priodferch wedi ei thrwsio i'w gwr. Fe fydd i Grist ddwyn ei eglwys i dŷ ei Dad yn y nefoedd, fel ei briodferch, yr hon a garwyd ganddo, a thros yr hon y traddododd efe ei hun, heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyffelyb.

Yna yr â y priodfab a'r briodferch i mewn i'r nefoedd, y ddau wedi eu gwisgo yn eu gwisgoedd priodas, a'r holl angelion gogoneddus yn eu canlyn. Ac yno y cant ddechreu ar wledd a llawenydd y briodas ger bron y Tad; yna y dechreuant briodas-ddydd tragywyddol. Bydd hwn yn ddiwrnod wrth fodd calon Crist, yn yr hwn y llawenycha efe â llawenydd mawr, a'r holl saint a lawenhant gydag ef. Bydd Crist yn ymlawenhau yn ei briodasferch, a'r briodasferch yn llawenychu yn ei phriod, yn ei sefyllfa o wynfydedigrwydd perffaith a thragywyddol. Gwel Dat. xxi. xxii.

Ac yn bresennol y mae holl waith y prynedigaeth wedi ei orphen. Mae maen uchaf yr adeiladaeth yn awr wedi ei osod. Wrth ddyfod â'n traethawd rhagddo, dilynasom eglwys Dduw trwy ei holl gyfnewidiadau mawrion, y lluchio a gafodd yma ac acw, yr ystormydd a'r tymhestloedd y bu ynddynt yn amrywiol oesoedd y byd. Gwelsom hi yn cyrhaedd y porthladd, ac yn glanio yn nefoedd y gogoniant, wedi ei gogoneddu yn gyflawn a thragywyddol. Yr ydym wedi myned trwy amrywiol oesoedd amser fel yr oedd rhagluniaeth a gair Duw yn ein harwain. Gwelsom sicrhau holl elynion yr eglwys mewn trueni diddiwedd, a hithau yn cael ei chyflwyno yn berffaith waredigol ger bron y Tad yn y nefoedd, lle y caiff fwynhau gogoniant a gwynfydedigrwydd

annhraethadwy ac anamgyffredadwy; ac yno yr ydym yn ei gadael i fwynhau y gogoniant hwn trwy ddiderfyn oesoedd tragywyddoldeb.

Yrwan y rhoddir holl elynion Crist dan ei draed, ac efe a gaiff lwyr fuddugoliaeth ar bechod a Satan, a'i holl offerynau, ac angau, ac uffern. Yn awr y bydd i'r holl addewidion a wnaed gan Dduw y Tad i Grist er cyn seiliad y byd, sef addewidion cyfammod y prynedigaeth, gael eu cyflawn gwblhau. Caiff Crist yn awr feddiant perffaith o'r llawenydd a osodwyd o'i flaen, er mwyn yr hyn yr aeth dan ei ddyoddefiadau dir-boenus tra yn ei sefyllfa ddarostyngol. Yn awr y cyflawnir holl obeithion a dysgwyliadau y saint. Sefyllfa gynyddawl a pharotöawl oedd sefyllfa yr eglwys o'r blaen: ond y mae hi yn awr wedi cyrhaedd i'w sefyllfa berffeithiaf o ogoniant. Nid yw holl ogoniant yr eglwys ar y ddaear ond rhyw gysgod egwan o'i gwynfydedigrwydd perffaith yn y nefoedd.

Yn awr y gogoneddir Crist y Gwaredwr yn y modd mwyaf perffaith. Duw y Tad a ogoneddir ynddo ef, a'r Ysbryd Glan a gyflawn ogoneddir yn mherffeithiad ei waith ar galonau yr holl eglwys. Ac yn awr y caiff y nef newydd a'r ddaear newydd, neu sefyllfa newydd pethau, eu cyflawn orphen, wedi i ddefnydd cyfansoddawl yr hen nef a'r hen ddaear gael eu dinystrio. Dat. 21. 1. "Ac mi a welais nef newydd a daear newydd: canys y nef gyntaf a'r ddaear gyntaf a aethant heibio." Ac yn bresennol fe fydd y Prynwr mawr wedi perffeithio pob peth perthynol i waith y prynedigaeth, yr hwn a ddechreuwyd ganddo yn ddioed ar ol cwymp dyn. A phwy all ddirnad y mawl a'r clod a genir ar yr achlysur yn y nefoedd, canys fe fydd gymaint yn fwy na 'r hyn a genir ar gwymp Anghrist! Ymddengys fod iaith y dysgybl anwyl Ioan (Dat. xix.) yn rhy ddiffygiol i ddesgrifio eu clodforedd, pan y dywed fod eu llef "megys llef dyfroedd lawer, ac megys llef taranau cryfion, yn dywedyd, Aleluia; canys teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog." Ond fe fydd y mawl a genir yn y nefoedd

ar ol perffeithiad diweddaf pob peth, yn llawer mwy annhraethadwy. Bydd caniadau y dyrfa fawr hono fel llef taranau cryfion yn wir!

Fel y ffodd yr holl bethau blaenorol ymaith, ac mór ogoneddus yw y sefyllfa yn yr hon y sicrhäwyd pethau i aros i dragywyddoldeb! Megys y derbyniodd Crist y deyrnas gan y Tad, pan y dechreuodd efe ar waith y prynedigaeth, ac y cymerodd arno weinyddu gorchwylion y bydysawd, a threfnu pob peth i fod yn wasanaethgar i ddybenion y gwaith hwn; felly, gan fod y gorchwyl hwn yn awr wedi ei orphen, efe a rydd y deyrnas i fyny i Dduw a'r Tad. 1 Cor. 15. 24. "Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i fyny i Dduw a'r Tad, wedi iddo ddileu pob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth." Nid o herwydd y bydd Crist yn rhoddi heibio deyrnasu wedi hyny; canys fe ddywedir, (Luc 1. 33,) "Efe a deyrnasa ar dŷ Iacob yn dragywydd; ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd;" a Dan. 7. 14: "Ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i freniniaeth ni ddyfethir." Ond yr ystyr yw, y bydd i Grist roddi i fyny y freniniaeth neu y llywodraeth oedd ganddo ef ar y byd, fel negesydd neu raglaw y Tad, yr hwn a roddwyd iddo gan y Tad i'w lywyddu i fod yn wasanaethgar i ddyben mawr y prynedigaeth. Ymddengys mai dyben y negeswriaeth, neu y rhaglawiaeth, a dderbyniodd gan y Tad oedd i fod yn îs-wasanaethgar i ddyben mawr y prynedigaeth; gan hyny pan gyflawn orphenir y dyben hwn, mae y ddirprwyaeth yn darfod, a Christ yn ei rhoddi i fyny i'r Tad oddiwrth yr hwn y derbyniodd hi.

## PEN. X.

*Defnydd oddiwrth y cwbl.*

Yr wyf yn awr yn dyfod i dynu ychydig addysgiadau oddiwrth y cwbl a ddywedwyd.

I. Gallwn ddysgu oddiwrth yr hyn a ddywedwyd *mór fawr yw gwaith y prynedigaeth.* Yr ydym yn bresennol, er mai mewn modd hynod o anmherffaith, wedi ei ystyried, yn ei holl yrfa, o'i ddechreuad ar ol y cwymp hyd oni bydd iddo gael ei orphen yn niwedd y byd. Yr ydym wedi gweled fel yr oedd Duw yn dwyn yr adeilad yma yn mlaen, trwy gadwyn hirfaith o ddygwyddiadau rhyfeddol, ac yn ei chodi yn uwch uwch y naill oes ar ol y llall, hyd onid yw y maen uchaf o honi yn cael ei osod yn ei le. Ac yn bresennol gadewch i ni ystyried mawredd y gorchwyl hwn. Os yw dynion, pan welont ryw adeilad orwech, yn rhyfeddu wrth ei gwychder, pa faint mwy y dylem ni ryfeddu mawredd yr adeiladaeth hon o eiddo Duw, yr hon sydd yn cael ei hadeiladu ganddo oes ar ol oes! Y mae tri pheth yn ymddangos yn yr hyn a grybwyllwyd, y rhai ydynt yn neillduol yn dangos *mawredd* gwaith y prynedigaeth.

1. Mawredd y *dygwyddiadau nodedig* hyny, a'r goruchwyliaethau rhagluniaethol, trwy ba rai y dygir y gwaith hwn i ben. Mór fawrion ydyw y pethau a gyflawnodd Duw, er nad ydynt i'w golygu ond cynifer o ranau o'r gwaith! Y fath bethau mawrion a wnaethpwyd yn y byd *i barotoi y ffordd* i Grist ddyfod i bwrcasu, a'r fath bethau rhyfeddol a wnaethpwyd yn mhwrcasiad gweithredol y prynedigaeth! Mór rhyfedd oedd yr hyn a gyflawnwyd er gosod Crist mewn sefyllfa addas i bwrcasu—ei *gnawdoliaeth*, fel y byddai i Dduw ddyfod yn ddyn! A'r fath bethau rhyfeddol a gymerasant le yn y pwrcasiad—fel y byddai i'r Person hwnw, yr hwn yw yr Iehofah tragywyddol, breswylio ar y

ddaear am bedair-ar-ddeg ar hugain neu bymtheg ar hugain o flynyddoedd, mewn cyflwr tlawd a dirmygedig, a threulio ei fywyd mewn llafur, lludded a dyoddefiadau, ac, yn y diwedd, marw ar y groes! Mór fawr oedd y pethau a gyflawnwyd i gwblhau *llwyddiant* prynedigaeth Crist! a'r fath bethau mawrion a wnaed i'w osod ef mewn sefyllfa i ennill y llwyddiant hwn! I'r dyben hwn yr adgyfododd oddiwrth y meirw, yr esgynodd i'r nefoedd, ac y darostyngwyd pob peth iddo ef. Cymaint o wyrthiau a wnaethpwyd, a'r fath chwyldröadau grymus a ddygwyd oddiamgylch yn barod yn y byd, a chymaint mwy fydd y rhai a gymerant le eto, er ei ddwyn i ben!

2. Y mae *nifer* y dygwyddiadau mawrion y gwneir defnydd o honynt gan Dduw i ddwyn y gwaith hwn yn mlaen, yn dangos mór fawr ydyw. Mae y chwyldröadau grymus hyn mór lluosog, fel y maent yn llenwi i fyny amryw oesoedd. Y dygwyddiadau hynod a rhyfeddol, trwy y rhai y dygwyd yn mlaen waith y grëadigaeth, a gymerasant i fyny chwe' diwrnod; ond y mae y goruchwyliaethau mawrion, trwy ba rai y dygir yn mlaen waith y prynedigaeth, yn ddigon lluosog i gymeryd i fyny o leiaf chwech neu saith mil o flynyddoedd, fel y mae genym bob lle i gasglu oddiwrth air Duw. Gweithredwyd pethau mawrion mewn perthynas i'r gwaith hwn cyn y dylif; ac yn y dylif, fe ddystrywiwyd y byd am unwaith â dyfroedd: ond fel y byddai i waith y prynedigaeth gael ei ddwyn yn mlaen, fe arbedwyd eglwys Dduw yn rhyfedd o hono. A'r fath bethau mawrion a wnaeth Duw tuag at ei ddwyn rhagddo wedi y dylif, mewn perthynas i ail boblogiad y byd, adeiladaeth Babel, gwasgariad y cenedloedd, byrhad einioes dyn, galwad Abraham, dinystr Sodom a Gomorrah, a'r gadwyn hirfaith o ragluniaethau rhyfeddol, mewn perthynas i Abraham, Isaac, a Iacob, a Ioseph; a'r rhyfeddodau mawrion yn yr Aifft a'r Môr Coch, yn yr anialwch, ac yn Nghanaan yn amser Ioshua, a thrwy olyniaeth hirfaith o ragluniaethau rhyfeddol tuag at y genedl Iuddewig o oes i oes.

Y fath bethau mawrion a wnaeth Duw trwy ddadym-

chwelyd y byd mór fynych cyn i Grist ddyfod, i barotoi y ffordd i'w ddyfodiad ef! Y fath bethau mawrion a wnaethpwyd yn amser Crist, ac wedi hyny yn nadymchweliad teyrnas Satan yn yr ymherodraeth Baganaidd, ac yn nghad wedigaeth yr eglwys yn amseroedd tywyll Pabyddiaeth, ac yn nygiad y Diwygiad oddiamgylch! Cynifer o bethau mawrion a rhyfeddol a effeithir i ddwyn i ben amseroedd gogoneddus yr eglwys, ac ar ddyfodiad Crist ddydd y farn, yn ninystr y byd, ac yn nghludiad yr holl eglwys i'r nefoedd!

3. Canlyniad gogoneddus yr holl waith hwn, yn ninystr llwyr a thragywyddol y rhai drygionus, a gogoneddiad cyflawn y cyfiawnion. Ac yn awr gadewch i ni fwrw golwg ar yr adeiladaeth hon unwaith eto, ymddengys fod pobpeth yn bresennol wedi ei orphen, a'r maen uchaf wedi ei osod. Yr oedd ei hymddangosiad yn ogoneddus yn nyddiau yr apostolion, ond yn llawer gogoneddusach yn amser Cystenyn, ac fe fydd iddi ymddangos yn fwy gogoneddus eto wedi cwymp Anghrist; ond ar berffeithiad pob peth, hi a ymddengys yn ddirfawr mwy ardderchog nac erioed o'r blaen. Ymddengys yn awr yn ei llawn faint, yn adeilad gyflawn ac uchel, a'i nen yn cyrhaedd hyd nef y nefoedd; yn adeiladaeth teilwng o'r Duw mawr, Brenin breninoedd.

Ac oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn gasglu mai gwaith y prynedigaeth yw y mwyaf o holl weithredoedd Duw, ag y mae genym ni unrhyw wybodaeth am danynt, ac mai y gorchwyl hwn yw perffeithrwydd ei holl weithredoedd ereill. Ymddengys yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, mai hwn yw y penaf o holl weithredoedd rhaglun-iaethol Duw, a bod y cwbl o honynt yn îs-wasanaethgar i waith mawr y prynedigaeth. Gwelsom fod yr holl chwyldröadau mawrion yn y byd yn cydweitho i ddwyn oddiamgylch y dyben ardderchog hwn. Y mae hyn yn dangos pa gymaint mwy yw gwaith y prynedigaeth na gwaith y grëadigaeth; oblegyd hyn yw ei ddyben, megys mai y dyben o adeiladu tŷ yw y defnydd a wneir o hono. Gwaith y pryn-

edigaeth yw swm holl weithredoedd rhagluniaethol Duw; y maent oll yn îs-wasanaethgar iddo: fel hyn y mae gwaith y grëadigaeth newydd yn rhagori ar yr hen. Felly y mae bob amser, pan y mae Duw yn symud un peth i wneyd lle i beth arall, mae y newydd yn rhagori ar yr hen. Fel hyn yr oedd y deml yn rhagori ar y tabernacl; y cyfammod newydd yn rhagori ar yr hen; goruchwyliaeth yr efengyl ar oruchwyliaeth Moses; gorseddfaingc Dafydd ar orseddfaingc Saul; offeiriadaeth Crist ar offeiriadaeth Aaron; yr Ierusalem newydd ar yr hen; ac felly y mae y grëadigaeth newydd yn rhagori yn mhell ar yr hen.

Nid ydyw Duw yn gwneuthur un defnydd arall o'r grëadigaeth ond i fod yn wasanaethgar i ddybenion y gwaith mawr hwn. I ateb y dyben hwn, efe a grëodd ac a drefnodd ddynolryw, yr angelion, y ddaear, a nefoedd y gogoniant. Dyben Duw wrth greu y byd oedd parotoi dyweddi a theyrnas i'w Fab; a gosod i fyny deyrnas Crist, a'i briodas ysbrydol ef a'i ddyweddi, yw y peth y mae yr holl grëadigaeth mewn poen a gwewyr i esgor arno. Y mae gwaith y prynedigaeth gymaint yn fwy na holl weithredoedd ereill Duw, fel nad yw y lleill i gyd yn cael eu cyfrif ond rhanau o hono, neu bethau cysylltiedig âg ef, neu yn tynu tuag ato ryw ffordd neu gilydd; ac felly y mae holl fwriadau Duw yn perthyn y naill ffordd neu 'r llall i'r cyfammod tragywyddol o brynedigaeth a fu rhwng y Tad a'r Mab cyn sylfaenu y byd. Y mae pob bwriad o eiddo Duw yn wasanaethgar ryw ffordd neu gilydd i'r cyfammod hwn. Ac o herwydd fod y prynedigaeth yn waith mór fawr, nid yw yn rhyfeddod fod yr angelion yn chwennych edrych iddo. Ac ni ddylem ryfeddu fod cymaint yn cael ei wneyd o hono yn yr ysgrythyrau—fod cymaint cyfrif yn cael ei wneuthur o hono yn hanesion, prophwydoliaethau, a chaniadau y Bibl; canys gwaith y prynedigaeth yw prif destun athrawiaethau, addewidion, cysgodau, caniadau, hanesion, a phrophwydoliaethau yr holl Fibl.

II. Gallwn ddysgu oddiwrth hyn fel y mae *Duw yn*

*Alpha ac Omega, yn ddechreu a diwedd pob peth.* Y cyfryw yw y cymeriadau a'r enwau a briodolir iddo yn fynych yn yr ysgrythyr. Esa. 41. 4. "Pwy a weithredodd ac a wnaeth hyn, gan alw y cenedlaethau o'r dechreuad? Myfi yr Arglwydd y cyntaf, myfi hefyd fydd gyda 'r diweddaf." Ac y mae yr ysgrythyr, pan yn llefaru am ragluniaeth fel y mae yn perthyn i, ac yn cael ei chrynoi i fyny yn ngwaith mawr y prynedigaeth, yn nodedig yn priodoli y cyfryw deitlau i Dduw. Esa. 44. 6, 7, a 48. 9—12. Gan hyny, pan y mae Crist yn rhagddangos y dygwyddiadau rhagluniaethol nodedig a berthynent i'w eglwys a'i bobl i'w ddysgybl Ioan, y mae efe yn amlygu ei hun yn fynych dan y cymeriad hwn. Dat. 1. 8. "Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, medd yr Arglwydd, yr hwn sydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd i ddyfod, yr Hollalluog." Felly drachefn, adn. 10, 11: "Ac mi a glywais o'r tu ol i mi lef fawr fel llais udgorn, yn dywedyd, Mi yw Alpha ac Omega, y cyntaf a'r diweddaf." Gan mai Alpha ac Omega yw enwau y gyntaf a'r ddiweddaf o lythyrenau yr egwyddor Roegaidd, mae yn arwyddocâu ei fod yntau yn gyntaf ac olaf, yn ddechreu a diwedd, yr un modd. Dat. 21. 6. "Ac efe a ddywedodd wrthyf, Darfu. Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd." Pen. 22. 12, 13. "Ac wele, yr wyf yn dyfod ar frys; a'm gwobr sydd gyda mi, i roddi i bob un fel y byddo ei waith ef. Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, y cyntaf a'r diweddaf."

Yr ydym wedi gweled i ba ddyben y dechreuodd Duw yrfa ei ragluniaeth yn nechreuad cenedlaethau dynion; ac fel y dygodd bethau yn mlaen bob amser yn unol â'r dyben hwnw heb erioed fethu; ac fel y bydd terfyniad a chanlyniad olaf pob peth yn y diwedd i Dduw; o herwydd paham gallwn roddi bloedd gyda 'r apostol, (Rhuf. 11. 33,) "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mór anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mór anolrheinadwy ydynt!" Ac adn. 36. "Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef, y

mae pob peth. Iddo ef y byddo y gogoniant yn dragywydd. Amen."

Gwelsom fel y daeth pethau ereill i'w terfyn y naill ar ol y llall; fel y syrthiodd gwledydd, a theyrnasoedd, ac ymherodraethau, ac y daethant i'r dim, hyd yn nod y mwyaf rhwysgfawr a chadarn o honynt. Gwelsom fel y mynych ddadymchwelwyd y byd, ac fel y bydd iddo gael ei ddadymchwelyd eto yn fwy nodedig; gwelsom fel y dyfethwyd ef unwaith â dwfr, ac fel y bydd iddo yn y diwedd gael ei hollol ddinystrio â thân: er hyny Duw sydd yr un trwy yr holl oesoedd. Yr oedd ef cyn dechreuad gyrfa pethau, ac efe a fydd wedi iddynt ddyfod i'w terfyn. Salm 102. 25, 26. Felly Duw ydyw yr *hwn sydd*, a'r *hwn oedd*, a'r *hwn sydd i ddyfod.*

Gwelsom, trwy amryfal enghraifftiau, fel y dinystriwyd yr holl dduwiau ereill. Cafodd duwiau y cenedloedd o amgylch Canaan, a holl dduwiau ymherodraeth Rhufain, eu dinystrio, a'u haddoliad ei ddadymchwelyd er ys talm. Yr ydym wedi gweled fel y bydd i Anghrist, yr hwn a alwai ei hun yn dduw ar y ddaear—Mahomet, yr hwn sydd yn honi anhrydeddusrwydd crefyddol—a holl dduwiau y Paganiaid trwy yr holl fyd, ddyfod i'w terfyn; ac fel y bydd i Satan, y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hwn a osododd ei hun i fyny yn y byd megys duw, gael ei fwrw i'r llyn o dân, i ddyoddef ei gyflawn gospedigaeth: ond y mae Iehofah yn aros, ei freniniaeth sydd freniniaeth dragywyddol, ac ar ei lywodraeth ni bydd diwedd. Gwelsom y fath gyfnewidiadau mawrion a gymerasant le yn y byd; ond Duw sydd annghyfnewidiol, *yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd.*

Dechreuasom yn mhen ffrwd rhagluniaeth ddwyfol, a dilynasom hi trwy ei hamrywiol ddirwyniadau, hyd oni ddaethom o'r diwedd i'r lle y mae yn tarddu o hono. Gan iddi ddechreu yn Nuw, ynddo ef hefyd y diwedda. Duw ydyw y cefnfor mawr i'r hwn y mae hi yn ymarllwys. Mae rhagluniaeth yn gyffelyb i olwyn ddirfawr, cylchfesur yr hon sydd mór uchel fel y mae yn arswydlawn, â gogoniant Duw

Israel arni oddiarnodd, yn ol y darluniad yn ngweledigaeth Ezeciel. Gwelsom gylchdröad yr olwyn hon, a'r modd, megys yr oedd yn dyfod o Dduw, y mae ei gogwydd-dro wedi bod iddo ef drachefn. Mae holl oruchwyliaethau rhagluniaeth ddwyfol yn gyffelyb i ddolenau cadwyn; y gadwyn gyntaf sydd o Dduw, a'r olaf iddo ef.

III. Gallwn weled oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fel y *mae gan Grist y flaenoriaeth yn mhob peth.* Efe yw y Prynwr mawr; ac am hyny, gan mai gwaith y prynedigaeth yw swm holl weithredoedd rhagluniaeth Duw, mae yn dangos gogoniant yr Arglwydd Iesu Grist megys uwchlaw pob peth, trwy bob peth, ac yn mhob peth. Gan mai dyben Duw wrth greu y byd ydoedd iddo fod yn wasanaethgar i'w Fab yn ngorchwyl y prynedigaeth, mae hyny yn un rheswm paham y crëodd efe y byd trwyddo ef. Eph. 3. 9—12. Dengys yr hyn a ddywedwyd, fel y mae *bwriadau* Duw yn cyfarfod oll yn Nghrist; ac fel y mae efe cyn pob peth, a goruwch pob peth. Mae pob peth yn cael eu cynnwys ynddo ef, yn cael eu llywodraethu ganddo, ac yn ddarostyngedig iddo. Col. 1. 15—18. Duw a'i gwnaeth ef yn gynfab iddo, dyrchafodd ef yn uwch na breninoedd y ddaear, a gosododd ei orseddfaingc ef uwchlaw eu gorseddfeingciau hwy. Cynnaliodd Duw ei deyrnas ef i fyny bob amser, pan y mae ereill yn dyfod i ddyddimdra; y mae hon yn y diwedd yn ymddangos yn uwch na 'r cwbl, er cymaint fu y gwrthwynebiad a gafodd am gynifer o oesoedd. Mae pob teyrnas arall yn syrthio, ond ei deyrnas ef fydd y ddiweddaf, yr hon ni rydd byth le i un arall.

Gwelwn pa gyfnewidiadau bynag y sydd, a pha gymaint bynag yr ymddyrchafo gelynion Crist eu hunain, eto y mae efe yn teyrnasu gydag awdurdod anfeistrolaidd a rhwysg difesur: ac yn y diwedd, mae ei bobl ef yn cael eu perffaith waredu a'u gwneyd yn ddedwydd, a'i holl elynion yn dyfod yn droedfaingc i'w draed ef. Ac fel hyn y rhoddodd Duw y byd i'w Fab yn etifeddiaeth.

IV. Oddiwrth hyn gallwn weled *cysondeb, trefnusrwydd,*

*a harddwch gweithredoedd rhagluniaethol Duw.* Os bydd i ni edrych ar bethau mewn unrhyw oleuni arall, ymddengys pob peth fel cymysgedd, ac yn gyffelyb i luchiadau tónau; ymddengys pethau megys pe byddai un chwyldröad dyrys yn dyfod ar ol un arall, trwy ddamwain gibddall yn unig, heb fod iddynt un dyben rhëolaidd a phennodol. Ond os bydd i ni ystyried dygwyddiadau rhagluniaeth yn y goleuni y mae yr ysgrythyr yn eu gosod o'n blaen, ymddangosant fel cadwyn o ddygwyddiadau rhëolaidd, yn cael eu cyfarwyddo yn ddoeth mewn cydgordiad a chysondeb rhagorol, ac yn tueddu oll at yr un dyben. Nid damwain gibddall sydd yn troi olwynion rhagluniaeth oddiamgylch, ond y maent o amgylch-ogylch yn llawn llygaid, yn ol y darluniad a rydd Ezeciel o honynt, ac yn cael eu cyfarwyddo gan Ysbryd Duw: lle yr elo yr Ysbryd, yr ânt hwythau. Mae holl weithredoedd rhagluniaeth Duw, yn mhob oes, yn cyfarfod yn y diwedd, megys cynifer o linellau mewn un canolbwynt.

Nid ydyw gwaith rhagluniaeth, a gwaith y grëadigaeth, ond un gwaith o eiddo Duw. Nid cynifer o weithredoedd neillduol ac annibynol, yw dygwyddiadau rhagluniaeth, ond yn hytrach cynifer o ranau gwahanol o'r un gwaith, ac o'r un cynllun rhëolaidd. Maent oll mewn undeb â'u gilydd megys gwahanol ranau adeilad. Mae llawer o gerig, a llawer o ddarnau o goed mewn adeilad, ond y maent oll wedi eu cysylltu a'u ffurfio yn nghyd, fel nad yw y cwbl yn gwneyd ond un adeiladaeth: un sylfaen sydd iddynt oll, ac yn y diwedd maent oll yn cael eu huno yn yr un pen congl-faen.

Nid anmhriodol fyddai cydmaru rhagluniaeth Duw i afon, ag iddi nifer aneirif o ganghenau, yn dechreu mewn gwahanol ardaloedd, yn mhell iawn oddiwrth eu gilydd, ac yn treiglo oll yr un ffordd. Wedi rhedeg o honynt lwybrau gwahanol a gwrthwynebol i'r olwg, maent oll yn ymuno fel y maent yn dynesu tua therfyn eu gyrfa, ac o'r diwedd yn ymarllwys trwy yr un aber i'r un cefnfor. Mae gwahanol ffrydiau yr afon hon yn dueddol o ymddangos yn ddyrys i

ni, o herwydd byrdra ein golwg, yr hyn sydd yn ei rhwystro i weled y cyfan ar unwaith. Nis gall y dyn nad yw yn canfod ond caingc neu ddwy ar unwaith, ddweyd yn iawn pa ffordd y mae eu treigliadau yn tueddu. Mae eu llwybrau yn ymddangos yn hynod o geimion, ac ymddengys rhai ffrydiau fel pe baent yn rhedeg yn groes a gwrthwyneb i'w gilydd; ac os bydd i ni gymeryd golwg o bell ar bethau, y mae rhwystrau ac attaliadau aneirif, megys creigiau, mynyddoedd, a'r cyffelyb, yn ymddangos ar y ffordd iddynt byth ymuno â dyfod i'r môr; ond eto, os bydd i ni olrhain eu rhediad, cawn weled eu bod oll yn ymuno yn y diwedd, ac yn cyd-ymdywallt yn un afon i'r un cefnfor mawr. Nid oes un o'r ffrydiau yn pallu.

V. Gallwn ddadleu yn gadarn oddiwrth y cwbl a ddywedwyd, *mai gair Duw yw yr ysgrythyrau, oblegyd hwy yn unig sydd yn ein hyfforddi beth yw dyben Duw yn yr holl weithredoedd hyn.* Mae yn ddiamheuol fod Duw yn dilyn rhyw gynllun, ac yn dwyn rhyw amcan yn mlaen, trwy yr amrywiol gyfnewidiadau a chwyldröadau sydd yn cymeryd lle yn y byd o'r naill oes i'r llall. Mae yn eithaf rhesymol meddwl fod gan Ragluniaeth ryw ddyfais fawr mewn golwg, i ddwyn yr hon yn mlaen y trefnodd yr holl gyfnewidiadau mawrion a wnaeth efe yn olynol yn y byd; ac nad ydyw yr holl chwyldröadau, o ddechreuad y byd hyd ei ddiwedd, ond gwahanol ranau o'r un ddyfais, y rhai ydynt oll yn cydweithio i ddwyn oddiamgylch y gorchwyl mawr sydd gan Grëawdwr a Llywodraethwr y byd mewn golwg yn y diwedd; ac na bydd y ddyfais wedi ei gorphen, na'r dyben wedi ei gyflawn gwblhau, hyd ddiwedd y byd, a dwyn y chwyldröad olaf oddiamgylch.

Yn awr nid oes dim arall a'n cyfarwydda beth yw dyfais a dyben Duw yn ei weithredoedd, ond yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Nid oes dim arall yn hóni dwyn i'r golwg holl restr gweithredoedd rhagluniaethol Duw o'r dechreu i'r diwedd, a'n hysbysu pa fodd yr oedd pob peth *o* Dduw ar y cyntaf, beth yw eu dyben, fel yr ordeiniwyd hwy o'r de-

chreud, ac fel y bydd iddynt gael eu dwyn yn mlaen hyd ddiwedd y byd, pa beth a ddaw o honynt yn y diwedd, ac fel y bydd pob peth *i* Dduw y pryd hwnw. Nid oes dim ond yr ysgrythyrau yn hóni dangos unrhyw amcan na thuedd rhëolaidd yn y chwyldröadau a achosir gan Dduw o oes i oes. Nid oes dim arall yn cymeryd arno ddangos pa beth a fuasai Duw yn ei effeithio trwy y pethau a wnaeth, y mae yn wneyd, ac a wna; na pha beth a geisia ac a fwriada trwyddynt. Nid oes dim arall yn cymeryd arno ddangos, gydag un math o eglurdeb a sicrwydd, pa fodd y cafodd y byd ei fodoliaeth, nac i'n gwneyd yn hysbys o wir ddechreuad pethau. Nid oes dim ond yr ysgrythyrau yn gosod allan, trwy hanesyddiaeth rëolaidd, pa fodd y llywodraethodd Duw y byd o'r dechreuad; na pha fodd y bydd iddo ei lywodraethu hyd ei ddiwedd, trwy brophwydoliaeth rëolaidd am ddygwyddiadau dyfodol; yn unol â'r hér a rydd Duw i'r duwiau, y prophwydi, a'r dysgawdwyr Paganaidd. Esa. 41. 22, 23. "Dygant hwynt allan, a mynegant i ni y pethau a ddygwyddant; mynegwch y pethau gynt beth ydynt, fel yr ystyriom, ac y gwypom eu diwedd hwynt; neu traethwch i ni y pethau a ddaw. Mynegwch i ni y pethau a ddaw ar ol hyn, fel y gwypom mai duwiau ydych."

Ymddengys mai addas a rheidiol i fodau deallus a rhesymol y byd yw gwybod rhywbeth am ddyfais a bwriad Duw yn ei weithredoedd: canys iddynt hwy yn ddiamheuol y maent yn perthyn, yn hytrach nac i'r anifeiliaid diresswm a phethau difywyd. Mae y chwyldröadau, trwy ba rai y mae Duw yn dwyn ei gynllun mawr oddiamgylch, gan mwyaf yn ddiamheuol yn eu mysg hwy, ac felly yn dwyn perthynas â'u sefyllfa. Felly mae yn anghenreidiol iddynt yn sicr wybod rhywbeth am hyny; yn enwedig gan fod Duw wedi gosod ei grëaduriaid rhesymol mewn sefyllfa i'w ganfod ef yn ei weithredoedd, i'r dyben hwn, sef fel y byddai iddynt weled gogoniant Duw ynddynt, a rhoddi iddo y gogoniant sydd ddyledus. Ond a allant hwy ganfod gogoniant Duw yn ei weithredoedd, os na wyddant ei ddyben

ynddynt, a pha gynlluniau a gwblhëir ganddo trwy yr hyn y mae yn ei wneyd?

Yn mhellach, mae yn ofynol i ddynolryw gael eu hyfforddi rywfodd am ddyben Duw yn llywodraethiad y byd, gan ei fod wedi eu gosod hwy mewn sefyllfa addas i gynnorthwyo ei amcan, a chydweithredu i'w ddwyn yn mlaen fel ei gyfeillion a'i ddeiliaid. Gan hyny eithaf rhesymol yw i ni feddwl i Dduw roddi rhyw ddatguddiad i ddynolryw er eu gwneyd yn hysbys o hyn: ond nid oes dim arall a wna hyny oddyeithr y Bibl. Mae hyn yn cael ei wneuthur yn y Bibl. Cawn yma ein hyfforddi am darddiad cyntaf pethau, a hanes rhëolaidd am ddyben gweithredoedd Duw o'r dechreuad, trwy yr holl oesoedd hyny sydd yn myned tu hwnt i gyrhaedd hanesion ereill. Dywedir i ni yma beth oedd amcan Duw yn y cwbl, beth ydyw ei ddyben mawr, pa fodd y trefnodd yr holl gynllun, a'r pethau mawrion a ddwg efe i ben. Cawn yma hanes teilwng o Dduw, yn dangos allan dra-rhagorol ogoniant ei berffeithderau, ei fawredd a'i ddoethineb, ei sancteiddrwydd, ei ras a'i gariad; a'i ddyrchafiad uwchlaw pawb, megys y cyntaf a'r diweddaf.

Yn hwn y dangosir i ni amrywiol ranau gwaith rhagluniaeth, ac fel y mae y cwbl wedi cael eu cyd-gysylltu mewn ffurf rëolaidd, brydferth a gogoneddus. Cawn ynddo hysbysrwydd o holl ddyfais rhagluniaeth, o ddechreuad y byd hyd ei ddiwedd, mewn hanesyddiaeth neu brophwydoliaeth, ac yma y dywedir i ni pa fodd y bydd i bethau gael eu dwyn oddiamgylch i ddarostwng gelynion Duw, i ddiogelu iachawdwriaeth a gogoniant ei eglwys, ac i osod i fyny freniniaeth dragywyddol ei Fab.

Y fath ddatguddiad rhesymol, teilwng, a rhagorol ydyw hwn! y fath lyfr ardderchog yw y Bibl, yr hwn a gynnwysa gymaint tu hwnt i holl lyfrau ereill y byd! y fath nodweddion o wir ddwyfoldeb sydd iddo! y llyfr a roddodd Iehofah i ddynolryw i'w hyfforddi, heb yr hwn y buasem wedi ein gadael mewn tywyllwch ac annhrefn truenus.

VI. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn weled *gogoneddus fawredd a gallu Duw yn ngwaith y prynedigaeth.* Mae ardderchogrwydd ei allu yn ymddangos yn ei waith yn cynnal ei eglwys i fyny am gyhyd o amser, ac yn dwyn gorchwyl y prynedigaeth yn mlaen; gan gadw ei eglwys yn fyw yn aml pan nad oedd ond megys gwreichionen fechan neu fel llîn yn mygu, yn yr hwn y byddai y tân bron a diffodd, a galluoedd daear ac uffern yn cydymuno i'w dyfetha. Eto ni oddefodd Duw iddynt ei diffodd, ac yn y diwedd efe a ddwg allan farn i fuddugoliaeth. Y mae Duw yn gogoneddu ei nerth yn ngwendid ei eglwys, trwy beri i'w bobl, y rhai nid ydynt amgen na babanod bychain, fuddugoliaethu o'r diwedd ar holl ddaear ac uffern; fel y bydd iddynt sathru ar y llew a'r asp: y cenaw llew a'r ddraig a sathrant dan draed. Y mae mawredd gallu Duw i'w weled yn ei waith yn gorchfygu ei elynion lluosog a chedyrn trwy yr Iachawdwr hwnw a fu unwaith yn faban mewn preseb, ac a ymddangosodd megys dyn tlawd, egwan a dirmygedig. Efe a'u gorchfygodd ac a fuddugoliaethodd arnynt â'u harf eu hunain, sef y groes.

Y mae mawrhydi gogoneddus Duw i'w weled yn ei waith yn gorchfygu holl elynion galluog ei eglwys y naill oes ar ol y llall; ac yn ei waith yn gorchfygu Satan, yr ysbryd cryf a balch hwnw, yn nghyda'i holl fyddin uffernol, ac yn ei ddarostwng yn mhen amser maith ar ol iddo yn ymffrostgar osod ei hun i fyny fel duw y byd hwn, a gwneyd ei oreu am oesoedd olynol i gadarnhau ei hun yn ei deyrnas.

Y mae gallu Duw i'w weled yn ogoneddus yn ei waith yn gorchfygu Satan wedi iddo ddyrchafu ei hun yn y deyrnas Baganaidd gryfaf a mwyaf ei hawdurdod a fu ganddo erioed, sef yr ymherodraeth Rufeinig. Gorchfygwyd ef gan Grist, ein Michael ni; bwriwyd y diafol allan, ac ni chafwyd lle iddo mwyach yn y nefoedd; eithr efe a fwriwyd allan i'r ddaear, a'i angelion a fwriwyd allan gydag ef. Drachefn, ymddengys ei allu yn ogoneddus yn ei waith yn ei orchfygu ef yn ei deyrnas Anghristaidd, yn yr hon, gor-

uwch pob un arall, yr oedd ei falchder, ei gyfrwysdra, a'i greulondeb i'w canfod. Ymddengys hefyd yn ogoneddus yn ei waith yn gorchfygu y diafol yn ei gydfwriad a'i wrthwynebiad mwyaf a chadarnaf, ychydig cyn cwymp Anghrist, trwy yr hyn y rhoddir dyrnod marwol i'w deyrnas weledig, y canlyniad o'r hyn fydd ei chwymp cyffredinol trwy y byd.

Mae gallu ardderchog Duw hefyd i'w weled yn ei waith yn gorchfygu y diafol, dro ar ol tro, wedi caniatâu iddo amser maith i gadarnhau cymaint ag a fedrai arno ei hun. Dadymchwelwyd ef yn ei ymherodraeth Rufeinig Baganaidd, ar ol iddo fod yn ymgryfhau yn y rhanau hyny o'r byd byth er adeiladaeth Babel. Dadymchwelwyd ei deyrnas yn fwy hollol a chyffredinol dros yr holl fyd, ar ol iddo gael hamdden arall i sicrhau ei hun hyd eithaf ei allu am lawer o oesoedd, trwy osod i fyny ddwy deyrnas fawr Anghrist a Mahomet, ac i sefydlu ei achos yn y byd Paganaidd. Gwelsom fel y dyddimwyd y teyrnasoedd hyn o eiddo gelynion Duw, y rhai oeddynt yn ymddangos mór gryfion, fel pe buasai yn annichonadwy bron eu dadymchwelyd ; ond pan y mae Duw yn dyfod i'r maes, maent yn toddi fel brasder ŵyn o flaen y tân, ac yn cael eu gyru ymaith fel us o flaen corwynt.

Teyrnasoedd galluog Anghrist a Mahomet, wedi arfer o honynt y fath rwysg am gynifer o oesoedd, a sathru y byd dan eu traed, pan ymddangoso Crist a ddiflanant fel cysgod, ac a ddarfyddant o honynt eu hunain—ciliant fel tywyllwch o ystafell ar arweiniad goleuni iddi. Beth ydyw gelynion Duw yn ei ddwylaw ef? Fel y mae eu nerth mwyaf hwy yn gwanhau pan gyfodo efe yn eu herbyn ? ac mór wán yr ymddangosant hwy, oll yn nghyd, yn nydd y farn! Gallwn gymhwyso y geiriau hyny yn nghân Moses yn y fan yma, (Exod. 15. 6,) "Dy ddeheulaw, Arglwydd, sydd ardderchog o nerth: a'th ddeheulaw, Arglwydd, a ddrylliodd y gelyn." Mór ardderchog yr ymddengys mawrhydi Duw yn ei waith yn dadymchwelyd y byd o amser i amser i ddwyn ei amcanion yn mlaen, ac yn y diwedd yn

ei waith yn peri i'r nefoedd a'r ddaear ffoi ymaith, i'r dyben o ddyrchafu gogoniant ei deyrnas!

VII. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn weled ardderchogrwydd *doethineb Duw.* Ymddengys ei ddoethineb yn ei waith yn creu y byd, ei greu i'r fath wasanaeth rhagorol, ac i ddwyn yn mlaen waith mór ardderchog; yn tynu y fath ddaioni allan o ddrwg mór fawr, gan wneuthur cwymp ac andwyad dynolryw, yr hyn oedd ynddo ei hun yn beth mór alarus, yn achlysur i gyflawnu y fath waith gogoneddus a'r prynedigaeth, ac i ddwyn ei etholedigion i'r fath sefyllfa o wynfydedigrwydd annhraethadwy. Mór ardderchog y mae doethineb Duw yn ymddangos yn y rhestr faith o chwyldröadau olynol a gymerasant le yn y byd, gan ddwyn trefn allan o annhrefn, a dyddimu dichellion cyfrwysaf Satan, yn y rhai yr ymogoneddai fwyaf, a'u troi yn achlysuron o fuddugoliaeth gymaint mwy gogoneddus i'w Fab Iesu Grist! Ac mór rhyfeddol yw doethineb Duw, yr hwn sydd yn dwyn y fath luaws amryfal o gyfnewidiadau a dadymchweliadau yn y byd oll i'r fath derfyn gogoneddus yn y diwedd, gan gyfarwyddo olwynion rhagluniaeth yn fedrusgar, fel y mae pob un o honynt yn cydweithredu, megys cynifer o olwynion y peiriant cywreiniaf, i ddwyn oddiamgylch y fath ganlyniad rhagorol yn y diwedd, a'r fath amlygiad o'r gogoniant dwyfol, y fath ddedwyddwch i'w bobl, a'r fath deyrnas ogoneddus a thragywyddol i'w Fab!

VIII. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn weled annghyfnewidioldeb *trugaredd a ffyddlondeb Duw i'w bobl;* na fydd iddo byth wrthod ei etifeddiaeth, eithr ei fod yn cofio ei gyfammod â hwynt trwy yr holl genedlaethau. Gallwn yn awr weled geirwiredd ein testun: "Y pryf a'u bwyty fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlan: eithr fy nghyfiawnder a fydd yn dragywydd, a'm hiachawdwriaeth o genedlaeth i genedlaeth." Gallwn weled yma reswm digonol dros yr enw hwnw o eiddo Duw trwy yr hwn yr amlygodd efe ei hun i Moses. Exod. 3. 14. "A Duw a ddywedodd wrth Moses, *Ydwyf yr Hwn Ydwyf:*" Ydwyf yr

un yn awr a phan aethum i gyfammod âg Abraham, Isaac, a Iacob, a'r un a fyddaf yn oes oesoedd: Ydwyf yn cadw cyfammod yn dragywydd: Ydwyf hunan-ddigonol, holl-ddigonol, ac anghyfnewidiol.

Ac yn awr gallwn ganfod gwirionedd Salm 36. 5, 6. "Dy drugaredd, Arglwydd, sydd hyd y nefoedd, a'th wirionedd hyd y cymylau. Fel mynyddoedd cedyrn y mae dy gyfiawnder; dyfnder mawr yw dy farnedigaethau." Ac os bydd i ni ond ystyried yr hyn a ddywedwyd, ni ddylem ryfeddu cymaint i'r Salmydd, yn 136ain Salm, ail adrodd y geiriau hyny mór fynych, "*Oherwydd ei drugaredd sydd yn parhau yn dragywydd*:" fel pe buasai wedi ei ddal gan bêr-lesmair yn yr ystyriaeth o barhad trugaredd Duw tuag at ei eglwys, a chan ymhyfrydu yn hyny, yn methu ymattal rhag mynychu yr ymadrodd. Bydded i ninau ddadgan parhad trugaredd a ffyddlondeb tragywyddol Duw tuag at ei eglwys a'i bobl gyda 'r cyffelyb hyfrydwch a llawenydd, a bydded i hyn ein cysuro dan holl amgylchiadau tywyll yr eglwys, yr holl derfysg a'r annhrefn sydd yn y byd, a holl fygythion gelynion yr eglwys. A bydded i ni fod yn galonog i weddïo yn daer am gyflawniad y pethau mawrion hyny yr addawodd Duw eu cwblhau i'w eglwys.

IX. Oddiwrth hyn gallwn ddysgu *y fath gymdeithas wynfydedig yw eglwys Crist*. Iddynt hwy y mae yr holl waith ardderchog hwn. Er eu mwyn hwy y cymerodd Crist y gwaith arno, ac er eu mwyn hwy y mae yn ei ddwyn yn mlaen: ac efe a wna hyn o herwydd iddo eu caru â chariad tragywyddol. Er eu mwyn hwy y mae efe yn dadymchwelyd gwledydd a theyrnasoedd. Er eu mwyn hwy y mae efe yn ysgwyd nefoedd a daear. Rhoddodd ddynion drostynt, a phobl am eu heinioes. Gan eu bod yn werthfawr yn ngolwg Duw maent yn anrhydeddus; am hyny y rhoddodd efe drostynt yn gyntaf waed ei Fab ei hun; ac yna er eu mwyn hwy efe a rydd waed eu holl elynion.

Er eu mwyn hwy y gwnaeth efe y byd, ac er eu mwyn hwy y bydd iddo ei ddinystrio; er eu mwyn hwy y gwnaeth

efe y nefoedd, ac er eu mwyn hwy y mae efe yn gwneyd ei angelion yn ysbrydion gwasanaethgar. O blegyd hyny y dywed yr apostol, (1 Cor. 3. 21, &c.) "Pa un bynag ai Paul, ai Apólos, ai Cephas, ai y byd, ai bywyd, ai angau, ai pethau presennol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddoch chwi." Mór wynfydedig yw y bobl hyn, y rhai a brynwyd o blith dynion, i fod yn flaenffrwyth i Dduw a'r Oen, i'r rhai y mae Duw yn borth ac amddiffynydd yn mhob cenedlaeth! Deut. 33. 29. "Gwynfydedig wyt, O Israel; pwy sydd fel tydi, O bobl gadwedig gan yr Arglwydd, tarian dy gynorthwy, yr hwn hefyd yw tarian dy ardderchogrwydd! a'th elynion a ymostyngant i ti, a thi a sethri ar eu huchel-leoedd hwynt."

Bid y neb a fyddo fuddugol yn awr: ymddyrchafed gelynion Crist fel y mynont, y bobl hyn fyddant orchfygol yn y diwedd. Eu teyrnas hwy fydd y ddiweddaf, ac nis gadewir hi i ereill. Gwelsom y canlyniad godidog y dygir pethau iddo yn y diwedd, y gogoniant a gyrhaeddant hwy, ac a feddiennir ganddynt yn oes oesoedd: ar ol i holl freniniaethau y byd dreulio ymaith, a symud y ddaear, a dymchwelyd y mynyddoedd i ganol y môr, neu i'r lle y buasai y môr ynddo, ac i'r ddaear isod hon ymollwng. O bobl wynfydedig, a chymdeithas ddedwydd! Hawdd y gallant hwy dreulio tragywyddoldeb i foliannu a chanu aleluiau i'r Hwn a'u carodd, ac a barhâ i'w caru i dragywyddoldeb.

X. Ac, yn olaf, oddiwrth hyn gall annuwiolion, *pawb sydd mewn cyflwr amddifad o Crist, weled eu dirfawr drueni.* Nid oes i chwi sydd felly, pwy bynag ydych, na rhan na chyfran yn y mater hwn. Ni fyddwch chwi byth yn well er un o'r pethau hyn; eithr bydd iddynt ychwanegu eich euogrwydd, a gwneyd y trueni yr ydych yn agored iddo yn llawer mwy ofnadwy. Yr ydych chwi yn rhai o'r bobl y defnyddiodd Duw gymaint o'i ddigofaint amlwg yn eu herbyn wrth ddwyn y gwaith hwn yn mlaen; yn rhai o'r gelynion hyny ag sydd ddarostyngedig i gael eu gwneyd yn droedfaingc i Grist, i'w llywodraethu â gwïalen haiarn, a'u dryllio yn

chwilfriw. Yr ydych chwi yn rhai o had yr hen sarph, ysigo pen yr hon oedd un o brif ddybenion yr holl waith hwn. Pa bethau gogoneddus bynag a gyflawna Duw i'w eglwys, os bydd i chwi barhau yn eich cyflwr presennol, ni byddant ogoneddus i chwi. Amseroedd ardderchocaf yr eglwys yw y rhai mwyaf ansiriol bob amser i'r drygionus a'r anedifeiriol. Esa. 66. 14. Pa le bynag y rhagddywedir pethau gogoneddus am yr eglwys, y mae yno bethau dychrynllyd yn cael eu rhagfynegu am y rhai drygionus, sef ei gelynion. Felly, pan y mae gwaredigaethau nodedig yn cael eu gweithredu i'r eglwys, y mae hefyd ddigofaint nodedig yn goddiweddyd ei gelynion.

Pan waredodd Duw blant Israel o'r Aifft, yn y cyfamser efe a dywalltodd ei ddigofaint yn nodedig ar Pharaoh a'r Aifftiaid. Pan ddygodd efe hwynt i Ganaan trwy law Ioshua, ac y rhoddodd iddynt y wlad dda hono, efe a dywalltodd ei lid yn nodedig ar y Canaaneaid. Pan waredwyd hwy o'u caethiwed yn Mabilon, cospwyd y Babiloniaid â dïaledd amlwg. Pan alwyd y Cenedloedd, ac yr achubwyd etholedigion Duw trwy weinidogaeth yr apostolion, dinystriwyd Ierusalem a'r erlidwyr Iuddewig yn y modd mwyaf arswydus. Gallwn ddywedyd yr un modd am y gogoneddusrwydd a gyflawnwyd i'r eglwys yn nyddiau Cystenyn, ac ar ddadymchweliad teyrnas weledig Satan ar gwymp Annghrist, ac yn nydd y farn. Yn yr holl enghraifftiau hyn, ac yn enwedig yn y diweddaf, dangoswyd, neu fe ddangosir, yr amlygiadau mwyaf arswydus o ddigllonrwydd dwyfol yn erbyn y rhai drygionus. Ac i'r dosparth hwn o ddynion yr ydych chwi yn perthyn.

Mae Duw yn sicr o wneyd defnydd o honoch chwithau yn y gwaith hwn; ond i *anrhydeddu ei gyfiawnder*, ac *nid ei drugaredd*, y gwna efe hyny. Yr ydych chwi yn rhai o'r gelynion hyny i Dduw, a gedwir erbyn dydd buddugoliaeth gallu gogoneddus Crist i'w gorchfygu a'u cospi. Yr ydych yn rhai o'r gelynion hyny a ddyfethir gyda'r byd melldigedig hwn ar ol dydd y farn, pan fyddo Crist a'i eglwys yn

esgyn yn fuddugoliaethus a gogoneddus i'r nef. Bydded i bawb sydd mewn cyflwr amddifad o Grist ystyried y pethau hyn yn ddifrifol, ac nid bod yn gyffelyb i drigolion ynfyd yr hen fyd, y rhai ni chymerent rybudd pan ddywedodd Noah wrthynt bod yr Arglwydd o gylch dwyn dyfroedd dylif ar y ddaear; neu, fel pobl Sodom, y rhai ni chymerent sylw o eiriau Lot pan y dywedodd wrthynt y byddai i Dduw ddinystrio y ddinas hóno, ac ni fynent ffoi rhag y llid oedd ar ddyfod, ac felly yn cael eu dyfetha yn y dinystr dychrynllyd hwnw.

Ac yn awr yr wyf yn diweddu fy holl draethawd ar y testun hwn, mewn geiriau cyffelyb i'r rhai hyny yn niwedd y Datguddiad: "Y geiriau hyn ydynt ffyddlon a chywir, a dedwydd yw yr hwn sydd yn cadw y geiriau hyn. Wele, y mae Crist yn dyfod ar frys, a'i wobr sydd gydag ef, i roddi i bob dyn yn ol fel y byddo ei waith. Yr hwn sydd anghyfiawn, bydded anghyfiawn eto; a'r hwn sydd frwnt, bydded frwnt eto; a'r hwn sydd sanctaidd, bydded sanctaidd eto. Gwyn eu byd y rhai sydd yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y byddo iddynt fraint yn mhren y bywyd, ac y gallont fyned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas: canys oddiallan y mae'r cŵn, a'r swyn-gyfareddwyr, a'r puteinwyr, a'r llofruddion, a'r eilun-addolwyr, a phob un a'r sydd yn caru ac yn gwneuthur celwydd. Yr hwn sydd yn tystiolaethu y pethau hyn, sydd yn dywedyd, Yn wir, yr wyf yn dyfod ar frys. Amen: yn wir, tyred Arglwydd Iesu."

DIWEDD.

